Undeb Ysgolion Sabothol yr Anibynwyr Cymreig.

[DAN NAWDD UNDEB YR ANIBYNWYR CYMREIG.]

Llawlyfrau yr Ysgol Sul.

# YR EPISTOL AT YR HEBREAID

## PEN. I.-VII.

Gyda Rhagarweiniad, Cyfieithad, a Nodiadau Esboniadol

GAN Y

Prif-athraw T. REES, M.A.

COLEG ANIBYNNOL BALA-BANGOR.

CYFROL I.

PRIS SWLLT MEWN LLIAN.

Cyhoeddedig yn Llyfrfa yr Anibynwyr Cymreig, Abertawe.
Goruchwyliwr—Parch. D. MORGAN DAVIES.
1912.

W. WILCOX, ARGRAFFYDD, ABERDAR.

# AT Y DARLLENYDD.

GWAITH esboniwr yw arwain ei ddarllenwyr et ei awdwr ac ymneilltuo'i hunan. Tair rhan bwysicaf esbonio yw cyfieithu, egluro a chyfndrefnu, sef gosod geiriau'r awdwr yn iaith y darllenydd mor gywir ag y byddo modd, egluro'r geiriau a'r brawddegau yn eu cysylltiad a'u gilydd, a'r oll er mwyn adgyfodi syniadau a meddwl yr awdwr ym meddwl y darllenydd. Hyn a amcenais yn y llyfryn hwn, a cheisied y darllenydd wneud yr un peth. Nid oes odid lyfr yn y Beibl a mwy o esboniadau a thraethodau da arno na'r epistol at yr Hebreaid. Darllenais gynifer ag a allwn o honynt er ceisio deall yr Epistol, ac wedi hynny ei esbonio yn fy ffordd fy hunan. Lle y mae dadl am ystyr yr awdwr, gosodais y prif farnau ger bron y darllenydd, a rhoddais fy rhesymau dros ddewis yr un a dybiwn y cywiraf; ond ni fernais yn ddoeth feichio'r tudalennau ag enwau'r holl esbonwyr a ddaliasant y gwahanol syniadau, oblegyd mai enwau di-ystyr fyddai llawer o honynt i'm darllenwyr, ac hefyd y mae esbonwyr (fel canibaliaid) yn byw llawer ar eu gilydd, ac anawdd gwybod pwy oedd perchen cyntaf llawer syniad; ond rhoddais enw'r awdwr pan gymerais unpeth yn grynswth o hono. Dymunaf gydnabod fy nyled i Edwards (Saesneg a Chymraeg, yr olaf yn arbennig), Westcott, Marcus Dods, Bruce, Alford, Von Soden, Hollmann, Lünemann, Zahn a Moffatt, ac, i raddau llai, i Rendall, Farrar, Jones-Humphreys ac Owen Thomas; ac yn arbennig dymunwn gyfeirio sylw'r darllenydd dwy-ieithog at lawlyfrau rhagorol a rhâd Davidson (T. & T. Clark) a Peake (Century Bible).

Y mae'r iaith Gymraeg yn fwy cyfoethog mewn esboniadau da ar yr Epistol hwn nag odid lyfr arall o'r Beibl. Heblaw'r esboniadau adnabyddus ar yr oll o'r Testament Newydd gan Dr. George Lewis, Dr. Jenkins (Hengoed), Matthew Henry, Dr. Thomas Coke, James Hughes, Albert Barnes, Idrisyn, ac Owen Jones, ceir hefyd ar yr epistol *Sylwadau Ymarferol ac Eglurhaol* gan y Parch. Thomas Jones, Caerfyrddin (1830), *Nodiadau Eglurhaol ac Ymarferol* gan Dr. William Rees (Dolgellau 1866), *Y Cyfammod Newydd*, sef 124 o bregethau eglurhaol ac ymarferol gan y Parch. John Evans, Merthyr (Aberdar 1875), *Nodiadau Deongliadol ac*

*Ymarferol* gan Dr. Owen Thomas (Wrecsam 1889), *Arweiniad i mewn a Nodiadau* gan Dr. Thomas Charles Edwards (Caernarfon 1890), *Darlithiau Esboniadol* gan y Parch. Richard Jones (Glan Alaw) (Caernarfon 1890), *Esboniad yr Efrydydd* gan y Parch. T. Jones-Humphreys (Bala 1892) ac Esboniad (na chefais gyfle i'w weled) gan y Parch. J. Morgan Jones, Caerdydd (1892). Diffyg y mwyafrif yw eu bod heb roddi ystyriaeth ddigonol i'r amgylchiadau hanesyddol ynglyn â chyfansoddiad yr epistol, a'u bod hefyd yn rhy dueddol i ddarllen eu systemau diwinyddol i fewn iddo. Ond y mae esboniadau'r Parch. T. Jones-Humphreys a Dr. Owen Thomas, ac yn arbennig eiddo Dr. Edwards, wedi eu hysgrifennu ar linellau beirniadaeth hanesyddol ac ysgolheigiaeth ddiweddar. Wrth ychwanegu llawlyfr at restr mor rhagorol, yr unig nodwedd arbenigol ynddo y dymunwn alw sylw'r darllenydd ati, yw'r ymgais a wnaethum i sylweddoli'n fwy nag esbonwyr blaenorol ddylanwad mawr athroniaeth Groeg ar feddwl awdwr He. Cymhellaf y darllenydd hefyd i roddi sylw arbennig i'r cyfeiriadau lliosog a roddais at rannau eraill o'r Beibl; chwilied yntau am rai eraill atynt, oblegyd y mae gwirionedd pwysig yn yr hen ddywediad mai'r "Beibl yw'r esboniad goreu ar y Beibl." Wrth gynnyg cyfieithad newydd, ni fynnwn awgrymu ei fod yn rhagori ar y Cyf. Cym., ond mewn rhai mannau y mae yn fwy cywir, a'm prif amcan oedd cynorthwyo'r darllenydd i ymddiosg oddiwrth syniadau traddodiadol am ddiwyg allanol y llyfr, a dod ato fel y mae, hyd y mae hynny yn bosibl mewn cyfieithad.

Dymunaf ddiolch i'm cyd-athraw, y Proff. T. Rhys, B.A., a'r Parch. D. Adams, B.A., Lerpwl, am awgrymiadau a chywiriadau ar y llawysgrif a'm galluogodd i symud llawer o frychau, ac i'm cyfaill y Parch. J. Morgan Jones, M.A., Aberdar, yr hwn a ddarllenodd ran o'r prawflenni.

Pa wallau a diffygion bynnag sydd yn aros (a diau fod llawer) myfi sydd yn gyfrifol am danynt.

T. REES.

COLEG BALA-BANGOR,
*Tachwedd, 1911.*

# CYNNWYS.

# GWELLIANT GWALLAU.

Trwy amryfusedd argraffwyd y Rhagarweiniad a rhan o'r Cyfieithad cyn cywiro'r prawflenni'n derfynol, a cheir ynddynt nifer o wall-argraffiadau.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ar tudalen | xvii | llinell | 16 | yn lle | *a cyn* | darllener | *ac yn* |
| ,, | ,, | ,, | 35 | ,, | *n* | ,, | *ni* |
| ,, | xix | ,, | 30 | ,, | *Equila* | ,, | *Aquila* |
| ,, | xxii | ,, | 37 | ,, | $1^{1.39}$ | ,, | $1^1$ $3^9$ |
| ,, | xxiv | ,, | 26 | ,, | *Int.* | ,, | *Mt.* |
| ,, | xxv. | ,, | 28 | ,, | *elfenau* | ,, | *elusennau* |
| ,, | xxxii. | ,, | 27 | ,, | 4, 8, 9 | ,, | $4^{8,9}$ |
| ,, | xxxv. | ,, | 7 | ,, | *wir lun ei natur ef* | ,, | *argraff ei sylwedd ef* |
| ,, | xxxvii | ,, | 4 | gadawer allan yr *yn* gyntaf | | | |
| ,, | xxxix | ,, | 7 | yn lle *bydd* darllener *hyd* | | | |
| ,, | xliv. | ,, | 33 | ,, | *diddymu* | ,, | *diddymir* |

Fe wêl y darllenydd y gwallau manach ac fe'u cywira ei hunan.

# TALFYRIADAU.

---

Adn: adnod, adnodau.

CC: cyn Crist.

OC: oed Crist.

C.S.A.: Y Cyfieithad Saesneg Awdurdodedig.

C.S.D.: Y Cyfieithad Saesneg Diwygiedig.

C.S.: Y Cyfieithad Saesneg, pan gytuna'r ddau.

Cyf. Cym.: Y Cyfieithad Cymraeg Awdurdodedig.

cf.: cymharer.

e.g.: er engraifft.

He: Yr epistol neu'r awdwr at yr Hebreaid.

HD: Yr Hen Destament.

h.y.: hynny yw.

llyth.: yn llythyrennol.

LXX.: y cyfieithad o'r Hen Destament i'r iaith Roeg a elwir yn gyfieithad y Deg a thriugain.

TN: Y Testament Newydd.

ymyl y ddalen: y cyfieithadau a roddir ar ymyl y ddalen yn y Beiblau Cymraeg mwyaf.

# AMCAN GYFRIF O'R PRIF DDYDDIADAU YNGLYN Â'R EPISTOL.

| | | |
|---|---|---|
| Cyfnod Moses - - - - | tua CC | 1200 |
| Amser Dafydd - - - | ,, ,, | 1000 |
| Caethglud Israel - - - - | ,, | 722 |
| Caethglud Judah - - - | ,, | 586 |
| Brenhiniaeth Persia - - - | ,, | 539-332 |
| Dychweliad y Gaethglud - - | ,, | 444 |
| Oes Plato - - - - | ,, | 427-347 |
| Ymherodraeth y Groegiaid - - | ,, | 332-165 |
| Y Maccabeaid yn dywysogion yn Jerusalem - | ,, | 165-63 |
| Ysgrifennu "Doethineb Solomon" - | tua ,, | 95 |
| Cymeryd Jerusalem gan y Rhufeiniaid - | ,, | 63 |
| Geni Philo - - - - | ,, | 20 |
| Geni Crist - - - - | ,, | 6-4 |
| Croeshoelio Crist - - - | OC | 29-30 |
| Troedigaeth Paul - - - - | ,, | 33-36 |
| Philo yn Rhufain - - - | ,, | 39 |
| Ysgrifennu Llythyrau Paul - - - | ,, | 50-64 |
| Merthyrdod Paul - - - | ,, | 64-67 |
| Efengyl Marc - - - - | ,, | 70 |
| Hebreaid - - - - | ,, | 80 |
| Llythyr Clement o Rufain - - | ,, | 96 |
| Efengyl Ioan - - - - | ,, | 100 |
| Rhestr Marcion o Lyfrau y TN - - | ,, | 140 |
| Ysgrifau Irenaeus - - - | ,, | 180-190 |
| ,, Tertullian - - - | ,, | 160-220 |
| ,, Clement o Alexandria - - | ,, | 190-217 |
| Canon Muratori - - - - | ,, | 193 |
| Gweithiau Origen - - - | ,, | 210-254 |

# Yr Epistol at yr Hebreaid.

## RHAGARWEINIAD.

### I. Y TEITL.

Pan dderbynio un lythyr, fel rheol edrycha yn gyntaf ai iddo ef y bydd wedi ei gyfeirio, ac yna gan bwy, ac o ba le, a pha bryd yr ysgrifennwyd ef. Oblegid trwy wybod yr holl amgylchiadau hyn yn unig y gellir deall cynnwys y llythyr. Y mae yr un peth yn wir i raddau mwy neu lai am bob math o ysgrif, er yn ddiau po fwyaf tansoddol y bo traethawd, lleiaf y dibynna ar amgylchiadau am ei ystyr. Ond lle bynnag yr ymdrinir â phrofiadau a digwyddiadau bywyd dynion, dylid gwybod rhywbeth am eu hamgylchiadau er gallu eu deall. Felly wrth geisio esbonio'r epistol at yr Hebreaid. Rhaid ei ddarllen mewn perthynas mor agos ag sydd bosibl â'i amgylchoedd hanesyddol.

Yn y Beibl Cymraeg, gelwir ef yn "Epistol Paul yr Apostol at yr Hebreaid." Pe bai'r desgrifiad hwn yn gywir, gosodai ni ar unwaith o fewn cylch adnabyddus ar faes hanes. Ond y mae yn dra amheus a oes un gair o wir yn y Teitl. Danghosir yn ol llaw nad Paul a'i hysgrifennodd, ei bod yn amheus ai at yr Hebreaid y cyfeiriwyd ef, a bod gwahaniaeth barn pa un ai llythyr ai traethawd ydyw.

Ni pherthynai'r teitl i'r llawysgrifau hynaf, lle y ceir yn unig y ddau air "at Hebreaid." Ac nid yw yn debygol fod y rhai hyn ychwaith i'w cael yn yr ysgrif wreiddiol. Y maent yn rhy gyffredinol a phenagored i fod wedi eu defnyddio fel teitl gan yr awdwr. Pe gosodasai efe gyfeiriad o gwbl, gosodasai un pendant. Casgliad rhywun oddiwrth gynnwys y llyfr yw'r teitl byrraf, a ffrwyth tybiaethau a thraddodiadau'r drydedd a'r bedwaredd ganrif yw'r teitl hwyaf. Gadewir ni felly bron heb unrhyw gymorth allanol i gasglu yr hyn a ellir o hanes ac amgylchiadau He allan o'i gynwys. Dyma faes rhydd i feirniadaeth Feiblaidd i wneud ei goreu, heb fod cwestiwn o ysprydoliaeth, nac awdurdod nac uniongrededd yn codi un rhwystr. Ond anfantais i esboniwr yw na

roddasai hanes iddo fwy o gymorth i gysylltu'r ysgrif â'r byd y perthyn iddo. Lle nad oes enw na dyddiad, nac unrhyw ddigwyddiad hanesyddol adnabyddus i gysylltu'r llythyr â hwynt, y mae yn anawdd, ac, efallai, yn amhosibl, penderfynnu ymhlith cymaint o ddewisiadau pa amgylchiadau hanesyddol sydd yn gorwedd y tu ol iddo. O'r tu arall y mae absenoldeb cyfeiriadau hanesyddol yn gwneud y llyfr cyn belled a hynny yn llai dibynnol am ei esboniad ar hanesiaeth. Eto fe geir gweled fod ei berthynas â hanes mor agos nes ei gwneud yn ddymunol i ni wybod yr oll sydd bosibl am ei gysylltiad â'r byd tu ol iddo ac o'i amgylch.

## II. TEITHI LLENYDDOL Y LLYFR.

(1) *Diwylliant yr Awdwr.* Fe welir ar y wyneb fod awdwr He yn ddyn o ddiwylliant meddyliol. Gwyddai'r iaith Roeg yn dda, ac ysgrifennai hi yn bur, yn fedrus, ac yn chwaethus. Nid oes y sail leiaf i'r dybiaeth mai cyfieithad o'r Hebraeg yw'r llyfr. Casgliad o eiddo Clement o Alecsandria oedd y dybiaeth honno oddiwrth y dybiaeth arall, fod y llyfr wedi ei gyfeirio yn gyntaf at Gristionogion na siaradent ond Hebraeg. Ond y mae He wedi ei ysgrifennu yng Ngroeg gan un a wyddai'r iaith o'i febyd, ac un oedd wedi ei meistroli trwy gyfarwydd-deb â'i llenyddiaeth. Yr oedd yn hollol gyfarwydd â chyfieithad y LXX o'r HD. Amlwg yw ei fod hefyd wedi darllen llenyddiaeth Roegaidd cylchoedd Iddewig Alecsandria, megis *Doethineb Solomon*, a diau ddarfod iddo astudio yn fanwl weithiau Philo. O bosibl ei fod wedi ei addysgu yn rheolau rhesymeg ac areithyddiaeth y Groegiaid. Rhêd ei ymresymiad ymlaen yn gyfan a chyson mewn cydgord cyffredinol â rheolau'r Groegiaid, er nad yn gaeth iddynt. Gwahaniaetha ei arddull yn fawr oddiwrth eiddo Paul. Y mae ei Roeg yn fwy pur, a'i ymresymiad yn fwy cyfan. Ni thorrir ei frawddegau, ac ni atelir cwrs ei ymresymiad ef, gan ryferthwy teimladau a meddyliau yn rhuthro'n anghymedrol ar draws eu gilydd, fel yn epistolau Paul. Rhêd ei ymresymiad yn llyfn a thra chlir o bwynt i bwynt, a gŵyr sut i gysylltu â'u gilydd ymresymiad a chyngor ymarferol, gan gadw un nôd ac amcan mewn golwg o'r dechreu i'r diwedd. Gosodir ef a Luc gyda'u gilydd fel y mwyaf diwylliedig o holl ysgrifenwyr yr eglwys foreuol.

(2) *Llythyr neu draethawd?* Y mae cryn ddadleu o berthynas i un cwestiwn am ffurf ei ysgrif, sef a yw yn briodol ei

galw yn llythyr ai nad yw. Ni ddechreua fel epistolau Paul ac ysgrifau ereill yn y TN gyda nodyn personol o gyfeiriad a chyfarchiad. Cychwynna yn hytrach trwy osod allan mewn brawddegau urddasol ac iaith athronyddol brif faterion yr holl ymdriniaeth ddilynol. Yr unig ysgrifau cyffelyb yn y peth hwn yn y TN yw y rhai a ddygant enw Ioan. Eto, fel yr â yr ymresymiad yn ei flaen, ceir cyfeiriadau personol yn dod i fewn fwy-fwy. Yn ddiweddglo ar bob ymresymiad ceir gair o gyngor neu rybudd neu galondid i gymhwyso'r gwirionedd at y darllenwyr ($2^{1}$, $3^{1,12}$, $4^{1,14}$, $5^{11}$ $6^{9}$ $10^{9}$ $13^{7}$), a gorffenna gyda nifer o gynghorion a chyfarchiadau personol ($13^{18.25}$). Geilw yr awdwr ei ysgrif yn "air y cyngor," a'r gair Groeg a gyfieithir "ysgrifennais" oedd y gair arferol am ysgrifennu llythyr ($13^{22}$). Dechreua He fel traethawd, â yn ei flaen fel pregeth, a gorffenna fel llythyr. Beth gan hynny ddylid ei alw?

Gwahaniaetha Deissmann rhwng "gwir lythyr" sef cenadwri bersonol un dyn at y llall, ac "epistol" neu draethawd wedi ei ysgrifennu ar ffurf llythyr, ond gan ddal golwg o hyd ar y cyhoedd fel ei ddarllenwyr, a gesyd efe He yn yr ail ddosbarth. A'r unig reswm sydd ganddo dros beidio ei gyfrif yn draethawd neu araeth lenyddol yw fod y gair "ysgrifennais" yn $13^{22}$, a'r cyfarchiadau yn rhan olaf y bennod honno, yn awgrymu'r dybiaeth fod yr ysgrif wreiddiol yn dechreu hefyd gyda rhyw fath o gyfarchiad. (*Bible Studies* t. 49-50). Ond nid oes un sail nac yn yr ysgrif nac mewn hanes i'r dybiaeth fod "cyfarchiad" erioed wedi sefyll ar y dechreu. Nid oes un arwydd ar y brawddegau agoriadol fod dim wedi ei dorri oddiwrthynt nac o unrhyw ddiffyg ynddynt.

(3) *Cyfanrwydd y Llyfr.* Ond peth mor anghyffredin yw llythyr heb gyfarchiad agoriadol, fel y gwnaed llawer cynnyg gynt ac yn ddiweddar i esbonio'r peth. Eglurhad Pantaenus gynt oedd fod Paul o wyleidd-dra wedi osgoi gosod ei enw wrth lythyr at yr Hebreaid, oblegyd fod yr Arglwydd ei hunan yn Apostol iddynt hwy. Yn ddiweddar, tybia Jülicher a Harnack fod yr awdwr o fwriad wedi gadael allan y cyfarchiad naill ai rhag ofn erlidigaeth, neu ynte am ei fod yn ddianghenraid, gan y gallai dygiedydd y llythyr egluro i'w dderbynwyr o ba le y daethai. Deil eraill fod y llythyr wedi ei newid er mwyn ei wneud i ymddangos fel eiddo Paul, ac felly sicrhau iddo le yn y Canon. Mynn awdwr diweddar o'r enw Wrede mai traethawd ydyw a'r cyfarchiadau ar y diwedd

wedi eu hychwanegu er creu'r argraff mai Paul oedd yr awdwr. Ond y mae ynghorff y llyfr lawer o gyfeiriadau personol, sydd yn rhan hanfodol o hono, nas gallent fod mewn traethawd amhersonol. Dywedir pa fodd a pha bryd y cafodd yr Hebreaid droedigaeth (2[3,4]). Desgrifir eu sefyllfa ysprydol bresennol gyda phryder a gobaith sydd yn golygu perthynas bersonol agos a thyner rhwng yr awdwr a'i ddarllenwyr (5[11,12], 6[9.11]). Geilw i gof eu brwydrau a'u temtasiynau, eu goddefgarwch a'u goruchafiaeth yn y gorffennol i'w calonogi yn eu treialon presennol, a chyfleir y gorffennol a'r presennol mewn ffordd arbennig sydd yn tybied amgylchiadau adnabyddus i'r awdwr a'i ddarllenwyr. Gan nad beth yw yr esboniad am absenoldeb cyfarchiad ar y dechreu, y mae'r llyfr yn rhy gyfan a chydgysylltiedig i allu gwahanu y rhannau athrawiaethol oddiwrth y rhannau ymarferol a phersonol. A pha raid sydd i ni gyfyngu yr awdwr i un ffurf gaeth ar lythyr? Y syniad mwyaf rhesymol yw yr un symlaf hefyd, fod yr awdwr wedi ysgrifennu traethawd i egluro ac amddiffyn Cristionogaeth at ddarllenwyr arbennig ac adnabyddus iddo, ac fel yr ai ymlaen gyda'i bwngc, deuai yn nês at ei ddarllenwyr, gan orffen ei ymresymiad mewn apêl ymarferol a thyner at eu cydwybodau a'u calonnau.

## III. PWY OEDD YR AWDWR?

(1). *Tystiolaeth Hanes a Thraddodiad.* Ceir yr awgrym gyntaf o fodolaeth He y tuallan iddo'i hunan yn llythyr cyntaf Clement o Rufain at eglwys Corinth, lle y gwelir nifer o gyddarawiadau â He mewn iaith a syniadaeth. Gellir casglu oddiwrth y ffaith hon fod He yn adnabyddus yn Rhufain cyn diwedd y ganrif gyntaf. Ysgrifennai Clement ei lythyr tua 96 O.C. Ni sonia am He wrth ei enw, a dyfynna o hono heb gydnabod ei ddyled. Ond ni fuasai yn dyfynnu o'r ysgrif heb fod iddi ryw gymaint o awdurdod yn Rhufain. Ategir y casgliad hwn gan y ceir hefyd mewn llyfr o'r enw *Bugail* Hermas nifer o frawddegau yn dwyn delw He. Gwr o Rufain oedd Hermas hefyd, ac ysgrifennai yn gynnar yn yr ail ganrif. Nis gellir bod yn sicr a oes ol dylanwad He ar ysgrifeniadau Polycarp a Iestyn Ferthyr. Ni cheir enw He yn y rhestr o lyfrau'r TN a dynnwyd allan ac a gydnabuwyd gan Marcion, nac ychwaith yn y darn rhestr a elwir yn Ganon Muratori, ond nid yw hon gennym yn gyflawn, a gallasai fod ynddi. Un peth ellir gasglu oddiwrthi yw nad ystyriai ei hawdwr hi mai

Paul oedd awdwr He, oblegyd dywed yn bendant mai at *saith* eglwys yr ysgrifenasai Paul. Perthynai'r ddwy restr i hanner gyntaf yr ail ganrif. Tua diwedd yr ail ganrif y ceir y cyfeiriadau diamwys cyntaf at yr epistol ac ymranna'r traddodiad am ei awduraeth ar unwaith yn dair cangen.

i. Yn *Alecsandria* cyfrifid He mewn rhyw ystyr yn eiddo Paul. Adrodda Clement o Alecsandria sut yr arferai ei athraw, Pantaenus mae'n debyg, egluro paham na fuasai Paul wedi cyfarch ei ddarllenwyr o dan ei enw yn y llythyr hwn, fel yn y lleill. Yn gyntaf, o barch at ei Arglwydd, ac yn ail, i osgoi drwgdybiaeth a rhagfarn, peidiodd Paul, ac efe yn apostol y cenhedloedd, gyfarch yr Hebreaid fel pe bai yn apostol iddynt hwythau hefyd. Derbynia Clement yr esboniad, ac ychwanega i Paul ysgrifennu ei lythyr yn Hebraeg, gan mai Hebreaid oedd y darllenwyr, ac i Luc ei gyfieithu i'r iaith Roeg. Tybiaeth noeth yw hyn oll, yn codi o dybiaeth arall, mai Hebraeg oedd iaith darllenwyr cyntaf yr epistol. Sylwasai Clement hefyd fod cryn wahaniaeth rhwng Groeg He ag eiddo epistolau Paul, a thybiodd iddo weled tebygrwydd i Roeg llyfr yr Actau; ac felly mai eiddo Luc oedd yr iaith, er mai Paul biau'r syniadau.

Cychwynnodd Origen gyda'r un traddodiad, ond gwyddai ef fod eglwysi eraill na dderbynient syniad Alecsandria, ac a feirniadent eglwys Alecsandria am dderbyn He i'r Canon. Teimlai ef hefyd yn fwy na Chlement fod nid yn unig yr iaith, ond y dull o feddwl yn He yn dra gwahanol i'r hyn a geid yn epistolau Paul. Ceisiodd ef gadw traddodiad ei eglwys, ac egluro'r gwahaniaeth uchod, ar y dybiaeth mai Paul biau'r syniadau, ond mai un o'i ddysgyblion oedd wedi eu trefnu a'u hysgrifennu i lawr. Enwai traddodiad Luc a Chlement o Rufain fel ysgrifenwyr posibl, ond pwy mewn gwirionedd a ysgrifennodd y llythyr, dywed Origen mai "Duw yn unig a wyr." Yn Clement ac Origen y ceir gyntaf ar gof a chadw y traddodiad mai Paul oedd awdwr He, ac fe welir mai yn rhannol yn unig, a chydag awgrym o amheuaeth, y credent hwy yn awduraeth Paul. Ond erbyn y bedwaredd ganrif, dysgai eglwys Alecsandria mai Paul oedd yr awdwr, heb yr un o'r telerau a gysylltai Origen â'i awduraeth: a hynny nid am fod ganddynt resymau ychwanegol, ond am eu bod yn fwy diofal am ffeithiau hanes, ac yn tueddu i wneud traddodiad amheus yn un pendant, pan fyddai yn cytuno â'u cyfundrefn athrawiaethol neu eglwysig hwy.

Yr oedd yn arferiad erbyn hyn i gyfrif yng Nghanon y TN yn unig lyfrau wedi eu hysgrifennu gan apostolion, a'r canlyniad oedd ceisio gwneud apostol yn awdwr pob llyfr y dymunid ei gynnwys yn y Canon. Am gyffelyb resymau, ac yn yr un cyfnod, ymledodd y syniad mai Paul oedd awdwr He i eglwysi eraill y Dwyrain, sef yr eglwysi Syriaidd a Groegaidd.

ii. Yn y Gorllewin, ni ddechreuwyd credu yn awduraeth Paul cyn y bedwaredd ganrif, ac ni dderbynnid y syniad yn gyffredinol cyn y bumed ganrif.

Yn Affrica, ffynnai traddodiad arall, sef mai *Barnabas* oedd yr awdwr. Dyma'r unig draddodiad pendant arall a geir yn y prif oesoedd. Ysgrifenna Tertullian, wrth ddyfynnu o He 6[1,4,6], "Y mae hefyd epistol at yr Hebreaid o dan enw Barnabas . . . . . a derbynnir epistol Barnabas yn fwy cyffredinol na llyfr y *Bugail*." Llyfr Hermas oedd yr olaf, a bu iddo gylchrediad eang yn yr ail ganrif. Nid dweyd ei farn ei hunan yn unig y mae Tertullian am He, ond dyfynnu traddodiad oedd wedi cael derbyniad mor gyffredinol fel yr oedd wedi cael lle yn nheitl yr epistol yn y llawysgrifau, ac nid ymddengys y gwyddai Tertullian am unrhyw draddodiad arall. Casgla Zahn fod y syniad hwn yn ffynnu yn yr eglwysi *Montanaidd (oblegyd un o'r sect honno oedd Tertullian) a'i fod wedi cychwyn yn Asia, lle hefyd y dechreuodd Montaniaeth. Ond os bu'r syniad hwn yn gyffredin yn eglwysi Affrica unrhyw adeg, rhoddodd le i draddodiad Alecsandria yn ystod y bedwaredd ganrif. Yng nghyngor Hippo yn 393 cyfrifid "tri-ar-ddeg o epistolau yr apostol Paul, ac un o'i eiddo at yr Hebreaid." Dengys ffurf y frawddeg na safai He yn hollol ar yr un tir ag epistolau eraill Paul ym marn y cyngor. Ond yng nghyngor Carthage yn 419, cyfrifid "pedwar-ar-ddeg o epistolau yr apostol Paul."

iii. Am Rufain ac eglwysi eraill y Gorllewin, y mae lle i gasglu i'r epistol ymddangos yno ar y dechreu yn ddi-enw. Ni cheir olion un traddodiad am ei awduraeth cyn y bedwaredd ganrif. Dywed un Stephen Gobarus, a ysgrifennai yn y flwyddyn 600, am Irenaeus a Hippolytus, y naill yn esgob Lyons a'r llall yn esgob Rhufain yn niwedd yr ail ganrif, eu bod yn gwadu mai Paul oedd awdwr He.

* Sect oedd y rhai hyn a dorrwyd allan o'r eglwys gatholig am feiddio credu fod yr Ysbryd Glan yn parhau i weithio yn yr eglwys fel yn oes yr apostolion.

Dywed Photius yr un peth am Hippolytus. Ond ni ddywed efe na Gobarus am un traddodiad gwahanol. Gwyddai Clement am yr epistol yn Rhufain yn niwedd y ganrif gyntaf, a phe buasai enw Paul, neu rywun arall wedi ei gysylltu ag ef o'r dechreu, y mae yn anhebyg os nad yn amhosibl y buasai wedi cael ei anghofio erbyn amser Hippolytus, mewn llai na chan mlynedd. Nid oedd un rheswm dros waith eglwysi'r Gorllewin yn gwrthod derbyn He ymhlith llythyrau Paul, ond yn unig nad oeddynt yn credu mai Paul oedd ei awdwr. Ymddengys felly yn sicr mai fel ysgrif ddi-enw y daeth He yn adnabyddus gyntaf. Awgrymir hynny yn wir gan draddodiad Alecsandria, oblegyd ceir hwnnw yn gyntaf fel esboniad Pantaenus paham y cuddiodd Paul ei enw. Casgliad, gan hynny, o eiddo Alecsandria oedd y syniad mai Paul oedd yr awdwr. Naturiol oedd i werth crefyddol yr epistol gael ei ganfod gyntaf yn Alecsandria, lle y ffynnai syniadau arbennig yr awdwr. Ac wrth edrych am awdwr i epistol mor werthfawr, naturiol hefyd oedd taro ar Paul, prif lythyr-ysgrifydd yr eglwys. Gwelid fod gwerth ac awdurdod ysprydol yr epistol yn ormod i'w adael yn yr un dosbarth â'r *Bugail* ac epistol *Barnabas* a'u bath, ac eto nis gellid ei osod yn y Canon newydd oedd yn cael ei ffurfio i wneud y TN, heb ei briodoli i ryw apostol. Pan na ellid cadw He allan yn hwy o'r canon, rhaid oedd dyfeisio awduraeth apostolaidd iddo. Felly, gellir tybied, y cododd, yr ymledodd, ac y ffynnodd y syniad mai Paul oedd awdwr He. Nid yw hyn oll wrthgwrs yn profi nad Paul oedd yr awdwr, ond nid yw yn profi mai efe ydoedd ychwaith. Parhaodd y traddodiad yn yr eglwys, ynghyda'r gyfundrefn feddyliol a'i cynhyrchodd, o'r bumed ganrif hyd yr unfed-ar-bymtheg. Gwrthodwyd y traddodiad gan ysgolheigion newyddion yr unfed-ganrif-ar-bymtheg a chan y diwygwyr Protestanaidd. Adgyfododd drachefn, gyda llawer o'r hen gyfundrefn athrawiaethol, yn y ddwy ganrif ddilynol. Ond y mae'n amlwg bellach nad oes gan draddodiad na hanes ddim goleuni i'w daflu ar gwestiwn awduraeth He. Nid ydynt yn profi nac yn gwrth-brofi fod neb arbennig yn awdwr iddo.

2. *Tystiolaeth yr epistol ei hunan.* Cyn rhoddi fyny'r ymchwil, dyledus yw gofyn pa olion o bersonoliaeth yr awdwr sydd wedi aros yn yr epistol ei hunan. Ni ddywed ddim yn bendant am dano'i hun, beth oedd ei enw, na pha bryd yr ysgrifennai, ond gellir casglu rhai ffeithiau lled sicr am dano. Ymddengys yn dra thebygol ei fod yn un o Iddewon y Gwasgariad, yn siarad ac

ysgrifennu yr iaith Roeg yn unig. Gwyddai ysgrythyrau'r HD, ac yr oedd yn gyfarwydd â syniadau crefyddol a defodau addoliad yr Iddewon. Hawlia ran etifedd yn eu hanes, eu traddodiadau, a'u sefydliadau cysegredig (1[1]), a sonia am danynt gyda chyfarwydd-deb a brwdfrydedd nas gellid eu disgwyl mewn proselyt, er feallai na byddai hynny yn amhosibl. Mewn cenedl-ddyn fyddai wedi troi o baganiaeth at Gristionogaeth, byddent yn llai tebygol fyth. Ond yng nghyfieithad y LXX yn unig y gwyddai'r awdwr yr HD, a dilyna ef hyd yn oed pan wahaniaetha oddiwrth yr Hebraeg (gwel Adnodiad C). Ysgrifennai Roeg gyda phurdeb iaith ac arddull na cheir eu cystal yn y TN ond yn ysgrifeniadau Luc. Yr oedd ei feddwl wedi ei drwytho â'r cyfuniad o syniadau Hebreig a Groegaidd sydd yn fwyaf adnabyddus yn ysgrifeniadau Philo. Daw hyn i'r golwg yn y defnydd wna o'r alegori i esbonio'r HD, yn ei ddull o feddwl mewn arwyddluniau, yn ogystal ag mewn llawer o dermau a fenthyciodd oddiar athronwyr Alecsandria. Eto, y mae ei athrawiaethiau sylfaenol mewn cydgord llawn â dysgeidiaeth Paul ac Ioan. Oddiwrth y lle canolog a rydd i Grist, a'i syniad uchel am ei Berson a rhinwedd achubol ei farwolaeth, oddiwrth rediad cyffredinol ei ddysgeidiaeth foesol, ei wrthwynebiad i feudwyaeth, a'i barch i athrawon ac arweinwyr yr eglwys, gellir casglu ei fod yn perthyn i'r cylch Cristionogol lle y teyrnasai syniadau Paul. Nid oedd ef na'i ddarllenwyr ymhlith disgyblion personol yr Iesu, ond derbyniasent yr efengyl gan y rhai a'i clywsant ef (2[3]), ac nid oedd rheiny mwyach ar y ddaear (13[7]). Buasai fyw ar un adeg ymhlith ei ddarllenwyr, ac yn dra thebyg, fel athraw ac arweinydd iddynt; pan ysgrifennai, yr oedd wedi ei wahanu oddiwrthynt, ond gobeithiai gael dychwelyd yn fuan atynt drachefn (13[18,19]).

A ellir yn awr roddi rhyw enw adnabyddus arno?

i. Er nad yw traddodiad a hanes yn profi dim am gysylltiad Paul â'r epistol, y mae ei gynnwys yn dangos yn sicr nad oedd Paul yn awdwr iddo. Fe wyddis digon am Paul i fod yn sicr nas gallasai fod wedi ysgrifennu He, a chystal dweyd yn y fan hon mai dyma'r oll y gellir bod yn sicr am dano yng nghylch awduraeth yr epistol. Gwahaniaetha ei iaith a'i arddull, ei brif syniadau a chynllun ei ymresymiad yn fawr iawn oddiwrth eiddo Paul, fel y'u ceir yn ei epistolau. Dyfynna Paul yr HD o'r Hebraeg ac o'r LXX, ond He o'r LXX yn unig. Dwg Paul ei ddyfyniad i fewn gyda'r frawddeg "Y mae yn ysgrifenedig" neu "Dywed yr Ysgrythyr" ond He "Dywed

Duw, yr Yspryd Glan," neu, "un mewn rhyw fan." *Deddf* yw yr HD i Paul, a saif mewn *gwrthgyferbyniad* i'r TN, ond fel rheol *Cyfamod* yw yn He, a *chysgod* y Cyfamod Newydd. Pan sonia am y ddeddf, golyga wrthi gyfundrefn seremoniol, tra yr oedd hi i Paul yn egwyddor foesol. Defnyddia Paul yn gyson yr enwau "Crist Iesu" ac "Ein Harglwydd Iesu Grist," ond ni cheir hwynt unwaith yn He, a dim ond teirgwaith y ceir "Iesu Grist" (10[10], 13[8,12]), a dwywaith "yr Arglwydd" (am Grist) (2[3], 8[14]). Ceir y termau hyn yn Paul dros 600 o weithiau (Zahn). Canolbwyntia athrawiaeth Paul am Grist yn ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i bresenoldeb parhaus yn yr eglwys, ond y syniad llywodraethol yn He yw ei swydd arch-offeiriadol yn y nef; a gwahaniaetha eu syniadau am Dduw yn gyfatebol. Y mae mwy o ôl syniadau Iddewaeth ddiweddar a dylanwad ysgol Plato i'w weled ar He. Braidd na ellid galw ei syniad am Dduw yn Ddeistaidd. Nid oedd y datguddiad o dadolaeth Duw, a'i breswyliad yn y byd a cyn hanes dyn, wedi meddiannu meddwl yr awdwr fel y gwnaethai feddwl Paul. Gan y syniai am y byd presennol fel "cysgod," nis gallasai Duw ddod i fewn iddo ond trwy gyfryngau (gwel Adnodiad A).

Gwahaniaethai profiad ac athrawiaeth y ddau awdwr hefyd am iachawdwriaeth. Nid oes olion brwydr fewnol a throedigaeth rymus fel eiddo Paul yn He, ac ychydig ddywed yr awdwr am y berthynas o gymundeb agos a phersonol â Christ oedd yn hanfod bywyd ysprydol yr apostol. Ni cheir o gwbl yn He athrawiaeth ganolog yr apostol, sef cyfiawnhad trwy ffydd. Golyga wrth ffydd, nid y berthynas bersonol, ddirgeledig â Christ a olygai Paul, ond yn hytrach y gobaith cyffredinol sydd yn cymeryd gafael ar hanfod y dyfodol, er goresgyn anhawsterau ac amherffeithderau'r presennol ansylweddol. Ceir iachawdwriaeth trwy buro a santeiddio a pherffeithio, ac nid trwy gyfiawnhad. Er nad oedd Paul heb deimlo dylanwad y syniadau Groeg-Iddewig fel y'u ceir yn Alecsandria (gwelir hynny oddiwrth Eph a Col), nid ymddengys yn unlle yn ei epistolau ef mor glir ac amlwg ag y mae yn He.

Heblaw hyn oll, y mae yn dra thebygol fod awdwr He yn aelod o'r eglwys yr ysgrifennai ati (13[18,19]), ond n fu Paul mewn perthynas o'r fath âg unrhw eglwys. Ni fu Paul erioed yn "aelod rheolaidd" o unrhyw eglwys yr ysgrifennodd ati. Ac yn ben ar y cwbl, nis gallasai Paul fod wedi ysgrifennu yr hyn a geir yn He 2[3], oblegyd dywed efyn bendant na dderbyniodd efe ei efengyl gan ddyn,

"eithr trwy ddatguddiad Iesu Grist" (Gal $1^{12}$), ac na ychwanegodd y disgyblion cyntaf ddim iddo (Gal $2^{6}$). Diau fod y cydgord cyffredinol rhwng He a phrif syniadau Paul, y soniwyd am dano yn barod, yn rhan o'r etifeddiaeth gyffredinol a adawsai'r apostol i'r holl eglwysi. Ceir hefyd ychydig o gysylltiadau mewn manylion. Cymharer, er engraifft, He $2^{2}$ â Gal $3^{19}$; He $12^{22}$ $13^{14}$ â Gal $4^{25}$; He $2^{10}$ â Rhuf $11^{36}$; a rhediad cyffredinol He â'r epistol at yr Ephesiaid. Hawdd cyfrif am y rhai hyn oll, naill ai am fod yr awdwr wedi darllen epistolau Paul, neu ynte gan fod brawddegau Paul wedi dod yn gyffredin yn yr eglwysi. Ond nid oes ynddynt ddim grym i wrthwynebu y rhesymau a grybwyllwyd dros wrthod y traddodiad mai Paul oedd awdwr He.

ii. Y mae'r frawddeg sydd yn fwyaf pendant yn cau allan Paul (sef He $2^{3}$), yr un mor bendant hefyd yn cau allan yr apostolion eraill. Rhaid edrych am enw yr awdwr yn hytrach ymhlith Cristionogion yr ail genhedlaeth, neu o leiaf ymhlith y rhai na chlywsant yr Arglwydd Iesu Grist yn y cnawd. Ac o fewn y cylch hwn y mae bron pob enw adnabyddus wedi ei awgrymu. Ceuir Timotheus allan gan yr epistol ei hunan, oblegyd sonir am dano yn y trydydd person ($13^{23}$). Erys Titus hefyd yn gyfle i rywun i wneud enw iddo'i hunan trwy ddweyd rhywbeth newydd ar y pwnc. Ond ceir fod ysgolheigion wedi dadleu hawliau Luc, Clement o Rufain, Barnabas, Silas, Apolos, Priscila, ac Aquila, Philip y Diacon, ac Aristion, a rhaid taflu trem ar yr hyn sydd i'w ddweyd dros bob un o honynt.

(*a*) Eu cysylltiad â Phaul barodd ddwyn i fewn *Luc* a *Chlement*. Lle y gwelwyd nas gellid dal y syniad traddodiadol o awduraeth uniongyrchol Paul, ceisiwyd ei gadw mewn ffurf anuniongyrchiol, trwy briodoli'r epistol i un o'i ddisgyblion. Yr oedd Luc a Chlement yn ddau awdwr adnabyddus, ac am hynny tarawyd arnynt hwy. Ond dyna'r ffaith sydd yn ein gorfodi i ameu neu wrthod y dybiaeth am y naill a'r llall. Gan fod eu hysgrifeniadau ar gael, gellir cymharu He â hwynt, fel âg ysgrifeniadau Paul, a gwelir fod cyffelyb wahaniaethau rhyngddynt. Y mae pob un o'r ddau ddisgybl hyn wedi glynu yn llawer nês wrth gyfundrefn yr apostol nag y gwnaeth awdwr He. Ac ni cheir ynddynt ychwaith ddim olion dylanwad athrawiaeth Alecsandria, fel y'i gwelir mor amlwg yn He.

(*b*) Am yr holl bersonau eraill a awgrymir, fe wyddis mor ychydig, fel mai anawdd yw dweyd dim yn bendant dros nac yn erbyn y dybiaeth mai un o honynt hwy oedd yr awdwr.

(1) *Barnabas* oedd Lefiad o Cyprus (Act. $4^{36}$) a chydymaith Paul ar un adeg (Act. $13^{2}$ &c.). Ceir ysgrif henafol arall a elwir yn "Epistol Barnabas," ond nid oes berthynas na thebygrwydd rhyngddi a He. Tybia rhai fod rhyw sail i'r dybiaeth hon yn y frawddeg a ddesgrifia He fel "gair y cynghor," ac a ddylid gyfieithu "gair dyddanwch" ($13^{22}$), gan y gelwir Barnabas yn "fab dyddanwch" (Act. $4^{36}$). Ond y mae'r cyd-darawiad yn llawer rhy ddamweiniol a dibwys i seilio dim arno. Dadleuir yn erbyn y dybiaeth hon nas gallasai Barnabas, ac efe yn Lefiad, fod wedi dangos cymaint gwrthwynebiad i'r gyfundrefn offeiriadol ag a wna yr awdwr hwn, ac yn arbennig nas gallasai ddangos yr anwybodaeth o honi a ddaw i'r golwg (fel y tybia rhai) yn He $7^{27}$ a $9^{4}$. Dywedir ei fod wedi camgymeryd wrth son am yr offeiriad yn offrymu *beunydd* ($7^{27}$) ac hefyd wrth osod y *thuser aur* ($9^{4}$), sef allor yr arogldarth, yn y cysegr santeiddiolaf. Y mae yn amheus ai camgymeryd a wnaeth, ond gellid gadael hynny i'w ystyried yn ei le priodol, oblegyd nid y deml yn Jerusalem, ac feallai nad cyfundrefn yr HD oedd o flaen meddwl yr awdwr, ond yn hytrach cyfundrefn traddodiad Iddewig. Ac am wrthwynebiad yr awdwr i'r gyfundrefn offeiriadol, nid yw yn agos mor bendant a gelyniaeth Paul yn erbyn Phariseaeth, ac y mae yn sicr i Paul fod unwaith yn Pharisead. Nid oes yn wir ddim sydd yn profi ei bod yn amhosibl mai Barnabas oedd yr awdwr; ond o'r tu arall, ni wyddis am ddim sydd yn ei gwneud yn debygol mai efe oedd yr awdwr. Os gwir y dybiaeth, y mae yn anhawdd deall paham na cheir y traddodiad yn unlle heblaw Affrica.

(2) Dadleua Harnack dros y dybiaeth mai *Priscila* ac *Equila* ynghyd oedd yr awdwyr. Sylwa y newidia yr awdwr wrth ysgrifennu o'r person lluosog, "ni," i'r person cyntaf unigol, "myfi," megis yn $13^{18,19}$, a thybia mai yr esboniad yw fod dau yn ysgrifennu, megis yn Rhuf. $5^{6\text{-}8}$ &c. Dywedir hefyd fod y dybiaeth hon yn esbonio'r cyfeiriad sydd o bosibl at berthynas yr awdwr â Rhufain (cf. Rhuf. $16^{5}$ â He $13^{22\text{-}24}$), ond a chaniatau fod y fath gyfeiriad, y mae yn lled debyg y perthynai Luc, Barnabas, Apolos, ac yn sicr Clement, mor agos i eglwys Rhufain ag y gwnai Priscila ac Aquila.

Deil Harnack drachefn fod y dybiaeth yn esbonio paham nad oes enw neb wrth yr epistol, sef o herwydd y rhagfarn a fodolai yn erbyn gwragedd fel athrawesau yn yr eglwysi. Hwn yw yr unig bwynt o blaid y dybiaeth hon, nad atebai lawn cystal i amryw o'r lleill, ond nid esbonia paham na fuasai enw Aquila wrth y llythyr. Ychydig sail, neu ddim, sydd i'r ddadl fod ol meddwl menywaidd ar yr epistol. Ac yn erbyn y dybiaeth, dylid ystyried mor anhebyg yw y byddai gwraig oedd ddisgybles i Paul yn hawlio'r fath awdurdod yn yr eglwys ag a honna awdwr He ($13^{17,18}$ cf. 1 Cor. $14^{34}$ &c.). Nid oes dim a wyddom am Priscila ac Aquila a wnai ychwaith awgrymu'r diwylliant, a'r gydnabyddiaeth â dysgeidiaeth Alecsandria a feddai awdwr He. Ni phrofa Act. $18^{26}$ eu bod yn ddysgawdwyr diwylliedig a medrus, ond yn unig y gwyddent brif byngciau pregethau cyntaf Paul yn ddigon da i allu eu hadrodd wrth Apolos. Y mae'r dybiaeth mai gwraig ysgrifennodd y llythyr yn beth mor eithriadol ac anhebyg ynddo'i hunan fel y gofyn brawfion llawer cadarnach nag sydd eto i'w cael i'w gwneud yn dderbyniol.

(3) Nid yw *Philip y Diacon* na'r *Aristion*, "disgybl yr Arglwydd," y sonia Papias am dano, nemawr ddim amgen nag enwau i ni. Ni wyddis dim am danynt a'u cysylltai â He, ac nid yw wiw derbyn tybiaeth heb ryw sail hanesyddol iddi. Y mae yn dra thebyg fod y ddau yn ddisgyblion personol i'r Arglwydd, ac os felly, ceuir hwynt allan gan He $2^{3}$.

(4) *Apolos* fu o bosibl mewn mwyaf o ffafr gan ysgolheigion er dyddiau Martin Luther. Nid oes un traddodiad henafol yn awgrymu mai efe yw awdwr He, ac y mae hynny yn gryn anfantais i'r dybiaeth, er nad yw yn ei gwneud yn amhosibl, oblegyd rhaid fod rhywun wedi ysgrifennu'r Epistol, ac os nad Barnabas oedd ef, y mae traddodiad henafol heb un sôn am dano. Ac mewn rhan fechan o'r eglwys yn unig y ffynnai'r traddodiad am Barnabas. Y mae yr oll a wyddis am Apolos yn ateb yn eithaf da i'r hyn a wyddis am awdwr He, ond ychydig iawn yw hynny. Gallasai fod wedi derbyn yr efengyl gan y rhai a glywsant yr Arglwydd ($2^{3}$); yr oedd yn "Iddew, Alecsandriad o genedl, gwr ymadroddus, cadarn yn yr ysgrythyrau . . . . ac efe a orchfygodd yr Iddewon yn egnïol ar gyhoedd, gan ddangos trwy ysgrythyrau mai Iesu yw Crist" (Act. $18^{24-28}$). Perthynai i gylch disgyblion yr apostol Paul fel Timotheus a Titus (1 Cor. $16^{10-12}$; Tit. $3^{13}$, cf.

He 13[23]). Gallasai'r syniadau Alecsandraidd, dylanwad Philo, yr ymresymiadau oddiwrth y defodau a'r traddodiadau Iddewig, a'r arddull lyfn, oll fod wedi deilliaw oddiwrth yr Iddew ymadroddus hwn o Alecsandria. Ond gallasai hefyd fod hanner cant o wŷr mor debygol ag Apolos i wneud hyn oll, na chlywsom erioed am danynt, ac na chlywir byth mwy. Wedi'r cwbl gallasai'r awdwr fod yn genedl-ddyn. Awgryma purdeb ei iaith a'i arddull Roegaidd hynny. Gallasai'r cyfuniad o feddwl Hebreig a Groegaidd a geir yn yr epistol, ac hyd yn nod termau Philo, fod ar led ymhell tuhwnt i Alecsandriâ. Fe wyddis rhy ychydig am fywyd mewnol dinasoedd mawrion Asia, lle y trigai Groegwyr ac Iddewon ynghyd, i ganiatau sicrwydd mai Alecsandria oedd unig ffynonhell y math hwn o ddysgeidiaeth. Yr oll ellir ddweyd yw fod awdwr He mor debyg i Apolos a neb y gwyddom ni am dano, ond pwy mewn gwirionedd oedd yr awdwr, rhaid boddloni ar gyfaddef fel Origen mai "Duw yn unig a ŵyr."

## IV. CYFEIRIAD.

Fe wyddis mor lleied am ddarllenwyr cyntaf y llythyr ag am ei awdwr. Fe'i hysgrifennwyd at Gristionogion ac at gynulleidfa arbennig o Gristionogion (Gwel I. uchod). Yn briodol dylasai'r teitl "at Hebreaid" olygu iddo gael ei ysgrifennu at Iddewon yn Mhalestina, ond nid yw hynny yn debygol, gan mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifennwyd ef. Golyga gan hynny yn unig Gristionogion oeddynt yn Iuddewon o ran cenedl, ac ni ddywed ddim am le eu preswylfod. Mynega'r teitl gasgliad a dynwyd yn foreu oddiwrth gynhwysiad y llyfr. Derbyniwyd y casgliad hwn fel un cywir yn unfrydol, ac heb amheuaeth o'r ail ganrif i lawr hyd ran gyntaf y ganrif ddiweddaf. Ond erbyn hyn ceir nifer o feirniaid yn dal mai cenedl-ddynion oedd darllenwyr cyntaf yr epistol. Cwestiwn o gasgliad yn hollol yw hwn eto, oddiwrth gynnwys y llythyr ei hunan.

1. *Nodweddion cyffredinol y darllenwyr.* Fel yr awdwr, derbyniasai'r darllenwyr hefyd yr efengyl yn gyntaf, "gan y rhai a glywsant" (2[3]), sef oddiwrth ddisgyblion personol yr Arglwydd, ond nid oeddynt hwy o'u nifer. Buont dystion o "arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd a doniau yr Yspryd Glan" (2[4]). Buasai eu troedigaeth yn drylwyr, a'u ffydd a'u bywyd crefyddol o radd uchel. Meddent wybodaeth dda o egwyddorion cyntaf

Crist ($6^{1}$ &c.). Gwnaethpwyd hwy yn "gyfranogion o Grist," ac nid oedd eisiau iddynt ond "dal dechreuad eu hyder yn sicr hyd y diwedd" $3^{14}$). Dygasent ffrwyth mewn gweithredoedd da, gan weini i'r saint ($6^{10}$), a dioddef poen ac erlid a chyd-ddioddef â'r rhai a garcharwyd ($10^{32\ 34}$). Bu hyn oll yn "y dyddiau o'r blaen," a theimlai yr awdwr pan yn ysgrifennu eu bod ymhell. Y mae y rhai oedd yn arweinwyr a gweinidogion iddynt yn y dyddiau hynny erbyn hyn wedi marw ($13^{7}$). A daethai cyfnewidiad mawr drostynt hwythau. Lle y dylasent fod yn athrawon y maent yn "hwyr-drwm eu clustiau," ac arnynt eisiau dysgu drachefn "beth ydyw egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw" ($5^{12}$), ac y maent mewn perygl o syrthio ymaith yn llwyr oddiwrth y ffydd. Y mae angen eu rhybuddio "na byddo yn neb o honynt galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymadaw oddiwrth Dduw byw" ($3^{12}$). Daethant yn fusgrell ($6^{12}$), "yn halogedig megis Esau" ($12^{16}$), ac yn ariangar ($13^{5}$). Fe allai fod eu crefydd yn tueddu i gyfeiriad meudwyaeth a ffurfioldeb allanol ($13^{4\text{-}9}$). Ac yn awr pan y mae y cysgadrwydd moesol a'r difaterwch ysprydol hyn wedi disgyn arnynt, dygir hwynt o dan brawf tanllyd arall gan erledigaethau o'r tu allan ($10^{36}$ $12^{4}$), a bair fod y perygl iddynt syrthio ymaith oddiwrth y ffydd yn llawer mwy ac yn llawer nes. Ymddengys yr hawlia'r awdwr ryddid i'w rhybuddio, am y buasai un adeg yn athraw yn eu plith, ac y bwriadai allu dychwelyd atynt yn fuan eto ($13^{18\text{-}19}$) Fe allai fod yr un peth yn wir am Timotheus ($13^{23}$). Yr oedd gan yr awdwr a'i ddarllenwyr gydnabyddion yn yr Ital ($13^{24}$), ac yr oeddynt gyda'r awdwr naill ai yn yr Ital yn cyfarch y darllenwyr oeddynt yn rhywle arall, neu yr oedd yr awdwr a hwythau yn rhywle arall yn cyfarch y darllenwyr oeddynt yn yr Ital. Dyma bron yr oll a wyddis am ddarllenwyr cyntaf He, ac nid oes ynddo fawr i benderfynu cyfeiriad y llythyr, oblegyd gallasai'r oll fod yn wir ar ryw adeg neu gilydd am bron unrhyw eglwys.

2. *Ai Iddewon ai Cenhedloedd?* Gall fod yn yr epistol yn ychwanegol ryw ategiad i'r hen draddodiad mai Iddewon oedd ei ddarllenwyr cyntaf. Cymer yr awdwr yn ganiataol eu bod yn hollol gyfarwydd â'r HD ac â'r defodau Iddewig. Yr oedd tadau y genedl Iddewig yn dadau hefyd iddynt hwy ($1^{1\text{-}39}$). Dywedir i Grist gymeryd ei ddynoliaeth "o had Abraham" ($3^{16}$). Ac eto gallasai hyn oll gael ei ddweyd wrth eglwys genhedlig, oblegyd

cyfrifai'r Cristionogion boreuol mai hwy oedd y gwir Israel, ac etifeddion y datguddiad Hebreig a'r oll a berthynai iddo, heb wahaniaeth o ba genedl yr oeddynt. Ond y mae rhesymau eraill dros dybied mai Iddewon oedd y rhai hyn. Dadleua Zahn gyda rheswm "nad oes yn He gymaint ag un frawddeg yn awgrymu mai *wedi dod* yr oedd y darllenwyr yn aelodau o bobl Dduw oedd wedi disgyn o Abraham, ac yn etifeddion yr addewid a roddasid iddynt hwy ac i'w tadau. Pe bai hynny yn wir nid oes yn y llythyr "ychwaith un awgrym sut y daethant." Tipyn yn fwy amheus yw dadleuon eraill Zahn ar y mater. Er engraifft, tybia ef fod prawf i'w gael yn $13^{13}$, "y perthynai'r awdwr a'i ddarllenwyr i'r genedl Iddewig," ac esbonia'r adnod fel yn golygu "fod y darllenwyr i ymwrthod a chymdeithas pobl yr Iddewon oeddynt wedi gwrthod yr Iesu, a chyffesu yr Iesu croeshoeliedig gan gymeryd arnynt eu hunain yr holl waradwydd a gafodd yr Iesu oddiar ddwylaw ei gyd-wladwyr." Ond gosod adeilad mawr ar sail fechan iawn yw hyn. Oblegyd ni olyga'r adnod o angenrheidrwydd fwy na chymhelliad i bwyso ar aberth Iesu Grist yn hytrach nag ar ddeddfau a defodau allanol. Nis gellir bod yn sicr ychwaith fod yr "athrawiaethau amryw a dieithr" am briodas a bwydydd ($13^{4\text{-}9}$) yn dal perthynas âg Iddewaeth. Gallasent fod yn ddechreuad y Gnosticiaeth a ymdaenodd led-led dros yr eglwysi Iddewig a Chenhedlig tua diwedd y ganrif gyntaf. Ac ar wahan i hyn, nid oes un prawf mai syrthio yn ol i Iddewaeth oedd perygl yr Hebreaid, ond yn hytrach eu perygl oedd anghrediniaeth gyffredinol ac "ymadaw oddiwrth Dduw byw" ($3^{12}$).

Holl rediad yr epistol, yn hytrach nag unrhyw gyfeiriadau neillduol, gynyrchodd y traddodiad, ac sydd yn ategu'r syniad, mai Iddewon oedd y darllenwyr. Gorffwysa holl genadwri'r epistol ei ddadl dros hawliau Crist a'r grefydd Gristionogol ar y dybiaeth fod y darllenwyr yn meddwl yn uchel iawn am Moses a Joshua, am Aaron a'r offeiriadaeth Iddewig, am yr hen gyfamod a'r gyfundrefn offeiriadol. Ymresymiad yr awdwr yw: Chwi ganiatewch awdurdod ddwyfol a mawredd ysprydol Moses, Aaron a'r sefydliadau Iddewig; ond y mae Crist yn fwy na'r rhai hyn oll; am hynny chwi a ddylech gredu ynddo ef. Cymer yn ganiataol fel cynsail i'w holl ymresymiad, fod safbwynt feddyliol ei ddarllenwyr yn hollol Iddewig. Ond prin y gallasai wneud hynny pe buasent Genhedloedd. Pan ysgrifenai Paul at yr eglwys

gymysg yn Rhufain, cysylltai athroniaeth y datguddiad Cristionogol â'r datguddiadau blaenorol i Iddewon a Chenhedloedd. Mabwysiadai Cristionogion cenhedlig y traddodiadau Iddewig fel eiddo iddynt eu hunain ar gyfrif eu cysylltiad â Christionogaeth. Hi oedd yn gosod gwerth arnynt hwy, ac annaturiol felly fyddai ceisio profi gwerth Cristionogaeth i Genhedloedd trwy apelio at y traddodiadau Iddewig. Hyd yn oed pan fabwysiadai Cristionogion cenhedlig ryw rannau o'r defodau Iddewig, fel y gwnaethant o bosibl yn eglwysi Galatia a Chorinth, derbynient hwy fel atodiad i Gristionogaeth, ac nid fel sylfaen iddi.

Dadleua Von Soden ac eraill gyda llawer o reswm mai nid syrthio yn ol i Iddewaeth oedd perygl yr Hebreaid, oud yn hytrach eu perygl oedd syrthio ymaith oddiwrth bob crefydd i anghrediniaeth a materoldeb, fel yr Israeliaid yn yr anialwch ($3^{7}$ &c.), neu Esau ($12^{16}$). Gyda'r holl gyfeiriadau sydd yn y llythyr at yr aberthau a'r defodau Iddewig, nid oes ynddo gymaint ag un rhybudd iddynt beidio ail-godi y rhai hyn, nac un arwydd fod tuedd yn yr Hebreaid i wneud hynny. Ond wedi profi i foddlonrwydd, fel yr ymddengys i mi, mai nid syrthio yn ol i Iddewaeth oedd eu perygl, camgymeriad yw cymeryd yn ganiataol am hynny nas gallent fod yn Iddewon. Yr oedd gwasgfeuon dylanwadau cymdeithasol ac erledigaethau yn gwneud Iddewon a Christionogion Iddewig, yn ogystal a Christionogion Cenhedlig, yn agored i syrthio ymaith oddiwrth eu crefydd i anghrediniaeth, anghrefyddolder, a phaganiaeth. (Gwel Doeth. Sol. $1^{10}$-$2^{20}$); 2 Macc. 4 & 5; Philo, *Ymfudiad Abraham*, 16; Int. $24^{10\cdot12}$; Act. $20^{30}$; 1 Cor. $10^{7\text{-}14}$; 2 Thess. $2^{4}$; 1 Ioan $2^{18}$, $5^{21}$; Pliny Ep. X. 96). Mewn gwirionedd tyrr ymresymiad Von Soden y ffordd arall. Pe buasai'r awdwr yn ymwneud â darllenwyr Cenhedlig oedd mewn perygl o syrthio yn ol i baganiaeth, neu i syrthio ymaith i ddifaterwch crefyddol, ychydig o les fyddai dadleu fod Cristionogaeth yn rhagori ar gysgodion Iddewaith. Os ambeuent y naill diystyrent y llall. Ond yr oedd yn wahanol wrth ymwneud ag Iddewon. Er eu bod ar fedr syrthio ymaith oddiwrth grefydd, yr oedd eto gan draddodiadau eu hynafiaid a'r sefydliadau a ddysgasent eu parchu o'u mebyd ryw afael arnynt. Y ffordd oreu i ddeffro neu i gryfhau eu ffydd hwy oedd dangos cyfanrwydd hanes crefyddol eu cenedl yn cyrraedd ei uwchafbwynt, ac yn sylweddoli ei holl addewidion yn Iesu Grist. Nid

ceisio eu hymresymu allan o "Iddewaith gyfrwys" rhyw genhadaeth Iddewig selog y mae (fel y tybia Moffatt, *Introduction pp.* 449-50), ond allan o ymollwng (2[1]), ac esgeulusdra (2[3]), a "chalon ddrwg anghrediniaeth yn ymadaw oddiwrth Dduw byw" (3[12]), ac anufudd-dod (4[11]), a difaterwch (5[11]), ac i "ddiwydrwydd . . . fel na byddont fusgrell" (6[11-12]), i hyder ac amynedd(10[35-36]), ac i "godi fynu y dwylaw a laesasant a'r gliniau a ymollyngasant" (12[12]). Hyn a wnaethai yn dda trwy apelio at holl hanes crefyddol eu cenedl, a'u holl brofiad hwythau fel Iddewon a Christionogion. Ymddengys felly mai Iddewon mewn perygl o syrthio i baganiaeth sydd yn ateb oreu i hynny o ddesgrifiad a geir yn yr epistol o sefyllfa a chymeriad ei ddarllenwyr.

3. *Preswylfod y darllenwyr.* Y mae'r cwestiwn am y lle y danfonwyd yr epistol iddo mor ben-agored a'r un o'r lleill. Gwelir hyn wrth gynnifer o leoedd a awgrymir, megis Jerusalem, Alecsandria, Rhufain, Antioch, Colossae, Ephesus, Berea, Ravenna, a mannau eraill. Er dyddiau Clement o Alecsandria, cyfeiria traddodiad at *Jerusalem*, ond ar y dybiaeth ddi-sail ddarfod ysgrifennu'r llythyr ar y cyntaf at Iddewon a siaradent Hebraeg, neu yn hytrach Aramaeg. Y mae yn sicr mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifennwyd y llythyr, ac y mae hynny yn rheswm lled gryf yn erbyn tybied mai i Jerusalem y cyfeiriwyd ef. Heblaw hynny, er ei fod yn trafod llawer ar y defodau Iddewig, nid oes ynddo un cyfeiriad at ddefodau'r deml yn Jerusalem ar y pryd, a phrin y gallasai osgoi rhyw gyfeiriad atynt pe yn ysgrifennu at y bobl oedd yn eu harfer. Pwynt i'r un perwyl yw ei fod yn nodi elusengarwch fel un o brif rinweddau yr "Hebreaid," ond derbyn elfenau ac nid eu rhoddi oedd arfer eglwys Jerusalem (6[10], Act. 11[29-30]) Nid yw yn debyg ychwaith y buasai holl ddisgyblion personol yr Arglwydd eto wedi marw allan o Jerusalem (2[3]). Ac yn olaf nis gellid yn gyfiawn gyhuddo eglwys Jerusalem na chynhyrchodd hi athrawon crefyddol (5[12]). Am y rhesymau hyn, y mae yn anhawdd credu fod yr hen draddodiad yn gywir, mai i Jerusalem y danfonwyd y llythyr gyntaf. Ac y mae y rhan fwyaf o'honynt yn dweyd yr un mor gryf yn erbyn tybied iddo gael ei ddanfon i unrhyw eglwys yn Mhalestina. Grym y traddodiad a osododd y cyfeiriad "at Hebreaid" yn deitl y llythyr sydd wedi peri i bobl edrych i Balestina am ei gyfeiriad. A phan gofir mai casgliad brysiog oddiwrth nodwedd gyffredinol y

mater a drinir, heb fawr sail iddo mewn ystyriaeth fanylach o gynwys y llythyr, a gynhyrchodd y traddodiad, fe welir mor lleied o bwys ddylid osod arno. Ond gadawer y traddodiad a'r teitl yn anghof, ac yna darllener y llythyr, ac fe welir y byddai yn hawddach edrych ymron i bob man nag i Balestina am ddarllenwyr a fedrent werthfawrogi athroniaeth Philoaidd yr awdwr.

Awgrymwyd *Alecsandria* yn bennaf am y rheswm y gallasai'r cyfeiriadau at y defodau Iddewig, y tybir eu bod yn anghyson âg arfer Jerusalem ($7^{27}$, $9^{4}$, $10^{11}$) fod yn gyfeiriadau at ddefodau y deml a adeiladasai'r Iddewon yn Leontopolis yn yr Aifft. Ond cyfundrefn ddefodol y tabernacl fel y ceid hi mewn traddodiad Iddewig, ac nid defodau unrhyw deml, oedd ym meddwl yr awdwr. Mae'n wir fod delw athroniaeth Alecsandria yn eglur iawn ar yr epistol, ond ffaith yn dal perthynas â'r awdwr yn fwy na'r darllenwyr yw honno. Yn Alecsandria y cododd y syniad anghywir mai Paul oedd awdwr He, a phrin y gallasai godi yn y lle y gwelodd y llythyr oleu dydd gyntaf. Os gwyddai neb pwy oedd yr awdwr, fe wyddai y bobl dderbyniodd y llythyr.

Tuedda ysgolheigion diweddar yn lled gyffredin i edrych i *Rufain* am ddarllenwyr cyntaf He. Yn Rhufain, yn ysgrifau Clement a Hermas y gwelir yr arwyddion boreuaf o'i fodolaeth. Golyga'r frawddeg " y rhai o'r Ital " fod naill ai'r awdwr neu ei ddarllenwyr yn yr Ital ar y pryd. Feallai ei bod yn fwy naturiol meddwl am yr awdwr, gyda nifer o gyfeillion o'r Ital oddicartref, yn danfon eu cofion at yr eglwys gartref, na thybied fod yr awdwr yn Itali yn danfon cofion yr holl wlad at eglwys ddieithr yn y pellder. Y mae yn debygol fod yn Rhufain, fel yn ninasoedd mawrion eraill yr Ymherodraeth, gynulleidfa o Iddewon oedd yn Gristionogion. Ond nis gellir dwyn i ategu'r dybiaeth hon unrhyw bwyntiau o debygrwydd rhwng He a Rhuf, fel y meddylia Von Soden. Pe yr ysgrifenasid He o Rufain, gallesid dweyd i'r awdwr yno ymgyfarwyddo âg epistol Paul at yr eglwys. Yn yr un modd, os y danfonwyd ef i Rufain, fe gyfrifa hynny am olion ei ddylanwad ar epistol Clement at eglwys Corinth. Ond gallasai'r llythyr fod wedi ei ddwyn i Rufain erbyn amser Clement, er ei ddanfon yn wreiddiol i ryw eglwys arall. Rhaid addef mai digon teneu yw'r rhesymau dros enwi Rhufain fel cyfeiriad cyntaf yr epistol, ond tueddir i'w derbyn am nad oes reswm yn y byd dros enwi un lle arall.

## V. AMSERIAD.

1. *Cyn Clement 96 OC.* Gellir dweyd yn hyderus fod He wedi ei ysgrifennu rywbryd cyn y flwyddyn 96 OC., oblegyd defnyddid ef tua'r amser hwnnw gan Glement yn Rhufain. Nid oes sail i'r dybiaeth fod He yn dibynnu ar ysgrifeniadau yr awdwr Iddewig Josephus, ac fod yn rhaid ei ddyddio ar ol y rhai hynny, neu buasai rhaid pennu'r adeg rhwng 93 a 96 OC. Ond nid yw mor hawdd gosod y terfyn cynharaf. Os cywir y dybiaeth fod olion darllen epistolau Paul, Gal., 1 Cor. a Rhuf. i'w ganfod ar He, rhaid ei fod ar ol 50 OC.

2. *Amser troedigaeth yr Hebreaid.* Fe ddengys yr epistol ei hunan fod ei ddyddiad gryn dipyn yn ddiweddarach na hynny. Ni pherthynai ei ddarllenwyr i gylch disgyblion cyntaf a phersonol yr Arglwydd Iesu. Ni raid wrth hynny feddwl fod cyfnod maith rhwng amser esgyniad Crist a'u troedigaeth hwy. Aethai'r disgyblion cyntaf ar wasgar ym mhell o Jerusalem rhag yr erledigaeth a gododd yno wedi marw Stephan (Act. $8^{1}$). "Gallwn yn hawdd gredu i bregethau grymus St. Stephan gynyrchu tòn a deimlwyd cyn belled a Rhufain" (Sanday *Romans* xxviii.). Ni raid felly galw'r "Hebreaid" yn Gristionogion yr ail genhedlaeth mewn ystyr amseryddol. Ond aethai cryn gyfnod heibio wedi eu troedigaeth hwy cyn ysgrifennu'r llythyr. Cawsent amser i fyned trwy lawer o gyfnewidiadau ($5^{12}$). Gollyngasent dros gôf y dyddiau o'r blaen yn y rhai wedi eu goleuo y dioddefasent ymdrech mawr o helbulon ($10^{32}$). Bu farw eu harweinwyr cyntaf ($13^{7}$). Er hynny, y dychweledigion cyntaf oedd mwyafrif yr eglwys pan ysgrifenwyd He ($2^{3}$ $10^{32}$). Tybia rhai fod enwi deugain mlynedd, a newid lle y frawddeg yn y dyfyniad yn $3^{9}$ yn awgrymu mai cyfnod cyffelyb oedd oddiar esgyniad yr Iesu a dechreu pregethu yr efengyl. Ond ni ellir gosod un pwys ar frawddeg ddamweiniol mewn dyfyniad. Prin y gallasai fod cyfnod meithach na deugain mlynedd rhwng yr amser y sefydlwyd yr eglwys ac yr ysgrifenwyd y llythyr; ond gallasai'r eglwys fod wedi ei sefydlu unrhyw bryd rhwng 32 a 70 OC.

3. *Datblygiad athrawiaethol.* O ran ei ddysgeidiaeth athrawiaethol saif He yn y canol rhwng epistolau diweddaraf Paul (Phil., Col., Eph.) a'r ysgrifeniadau sydd yn dwyn enw Ioan. Golyga'r "athrawiaethau amryw a dieithr" y cyfeiria'r

awdwr atynt yn unig dueddiadau meudwyaidd o berthynas i briodi a bwydydd ($13^{4,9}$) o'r fath a ddont i'r golwg trwy epistolau Paul yn gynnar a diweddar. Nid oes yn He un arwydd o ymddangosiad heresiau yr Ebioniaid, y Docetiaid, a'r Gnosticiaid, a ddaethant mor gyffredin yn yr eglwysi tua diwedd y ganrif gyntaf. O'r tu arall, gellid meddwl fod yr awdwr wedi amgyffred a ffurfio a defnyddio athrawiaeth y Gair i esbonio person Crist yn fwy trylwyr nag y gwnaethai Paul, tra nad yw wedi ei chymathu ag egwyddorion ac amcanion Cristionogaeth, na'i mabwysiadu mor llwyr ag y ceir hi yn Ioan. (Gwel Adnodiadau A a D).

4. *Cwymp Jerusalem.* Dadleua llawer y rhaid fod yr epistol wedi ei ysgrifennu cyn cwymp Jerusalem yn 70 OC., neu nas gallasai'r awdwr byth fod wedi osgoi un cyfeiriad at ddigwyddiad mor amlwg a phwysig, pan yn ysgrifennu at Iddewon, ac am faterion Iddewig. Buasai llawer o rym yn y ddadl hon pe buasai yn sicr mai i Jerusalem y danfonwyd y llythyr ; ond y mae hynny yn dra anhebyg. Yn y pellder gallasai awdwr a gymer mor ychydig o gyfrif o ddigwyddiadau hanesyddol yn hawdd beidio son hyd yn oed am gwymp Jerusalem. Nid y deml na'i defodau oedd yn ei feddwl ef, ond y tabernacl. Nid ymddengys fod ganddo fawr ddyddordeb yn Iddewaeth ei gyfnod ei hunan, ac am hynny ni phrofa y ffaith na sonia am gwymp Jerusalem ei fod yn ysgrifennu cyn y digwyddiad hwnnw.

5. *Timotheus.* Ceir un ddolen gydiol â'r byd o gwmpas yr awdwr yn y ffaith fod Timotheus eto'n fyw pan ysgrifennai ($13^{23}$), ond ychydig ellir gasglu oddiwrthi. Yr oedd Timotheus yn wr ieuanc ac yn ddisgybl pan ymwelodd Paul a Galatia ar ei ail daith genhadol tua 46 OC (Act. $16^{1}$). Gallasai felly fod wedi byw hyd tua diwedd y ganrif. Nis gellir profi, fel yr awgryma rhai, am yr enwir Timotheus ar ei ben ei hun, fod Paul a'i gymdeithion eraill oll wedi marw.

6. Y *ddwy erlidigaeth.* Nodir dau ddigwyddiad yn hanes yr Hebreaid a awgrymant ddyddiad lled ddiweddar. Yn union ar ol eu troedigaeth dioddefasant erlidigaeth flin iawn ($10^{32-33}$). Ac yn awr drachefn, pan ysgrifennir y llythyr, y maent ar fyned dan brawf cyffelyb, lle y bydd raid iddynt wrth amynedd ($10^{36}$), er na wrthwynebasant eto hyd at waed ($12^{4}$). Tybia rhai mai yr erlidigaeth gyntaf oedd yr un yn amser Nero, 64 OC ; a'r ail, yr

erlidigaeth o dan deyrnasiad Domitian yn fuan wedi 81 OC. Ond pan gofir fod y Cristionogion mewn rhyw ran neu gilydd o'r deyrnas bron o hyd o dan erlidigaeth, ac na wyddis gyda nemawr sicrwydd pa le y trigai yr "Hebreaid," nis gellir bod yn bendant iawn am amser yr erlidigaethau eto. Gellir bod yn sicr mai yn hanner olaf y ganrif gyntaf yr ysgrifenwyd He. Ac yna, am nifer o resymau cyffredinol, megis y tebygolrwydd fod yr apostolion cyntaf ac arweinwyr yr eglwys wedi marw, diffyg son am enw Paul, datblygiad y syniadau duwinyddol y tu hwnt i safbwynt Paul, absenoldeb sêl a brwdfrydedd cyfnod cyntaf yr eglwys, y cyfnewidiadau aml a mawrion a ddaethai dros yr "Hebreaid," tueddir i osod amseriad yr epistol yng nghwarter olaf y ganrif. Ymddengys fel pe bai ysgolheigion yn lled gyffredin ar hyn o bryd am gytuno i'w osod o gylch y flwyddyn 80 OC, neu ychydig yn ddiweddarach.

Blinder i'r ysgrifenydd presenol, ac yn ddiau i'w ddarllenwyr, yw dwyn i fewn ddyfarniad agored fel hyn ar un pwynt ar ol y llall am hanes yr epistol. Llawer mwy dymunol fuasai gallu dweyd mai Paul a'i hysgrifenodd o Rufain at eglwys Jerusalem yn y flwyddyn 65 OC. Ond ni chaniata ffeithiau a gwirionedd i ni ddweyd dim o'r fath. Feallai y dywedir mai ofer gan hynny yw yr holl ymchwiliad dyrus, ond credaf ei bod o'r pwys mwyaf i esboniadaeth Feiblaidd symud o'i ffordd bob traddodiad anghywir a chamarweiniol, er gallu dod at wirionedd yr ysgrythyr. Dywedid yn Sir Benfro er's llawer dydd y dylid dweyd y gwir tra y parhâi, a dweyd celwydd wedi hynny. Ar yr un egwyddor, mae'n debyg, y myn rhywrai adrodd hen draddodiadau disail ac anghywir "hyd nes y ceir eu gwell," ond gofyna ffyddlondeb i'r gwirionedd i ni beidio haeru dim lle nad oes wybodaeth sicr.

## VI. CYNHWYSIAD A DYSGEIDIAETH YR EPISTOL.

1. *Amlinelliad o'i gynnwys.*

I. Datguddiad Duw yn ei Fab, I.-II.

i. Crist yn gyflawnder datguddiad, I.$^{1-3}$

ii. Rhagoriaeth Crist ar yr angylion, I.$^{4-14}$

(1) Am ei fod yn Fab, I.$^{4-6}$

(2) Oherwydd ei deyrnasiad tragwyddol, I.$^{7-14}$

iii. Y perygl o esgeuluso iachawdwriaeth trwy'r Mab, II.$^{1-4}$

iv. Y Mab a'r ddynoliaeth, II.$^{5-18}$

(1) Iselder ac urddas dyn, II.$^{5-8}$

(2) Yr angenrheidrwydd am yr ymgnawdoliad, II.$^{9-18}$

(*a*) I gyflawni bwriad grasol Duw, II.$^{9-10}$

(*b*) Fel y byddai'r Gwaredwr a'r gwaredigion yn un, II.$^{10-15}$

(*c*) Fel y gallai'r Gwaredwr gydymdeimlo â'r gwaredigion, II.$^{16-18}$

II. Tywysog Iachawdwriaeth, III.$^{1}$-IV.$^{13}$

i. Rhagoriaeth Crist fel Mab ar Moses fel gwas, III.$^{1-6}$

ii. Canlyniadau anghrediniaeth Israel, III.$^{7-11}$

iii. Rhybuddio'r Hebreaid ar eu pwys rhag anghrediniaeth, III.$^{12-19}$

iv. Anogaethau i ffyddlondeb, IV.$^{1-13}$

(1) Oblegyd fod gorffwysfa yn aros pobl Dduw, IV.$^{1-11}$

(2) Am mai Duw hollwybodol a'u barna, IV.$^{12-13}$

III. Yr Archoffeiriad Mawr, IV.$^{14}$-X.$^{18}$

i. Offeiriadaeth Crist yn hyder y Cristion, IV.$^{14-16}$

ii. Crist yn meddu cymwysderau hanfodol offeiriad, V$^{1-10}$

(1) Cydymdeimlad â dynion, V.$^{1-3}$

(2) Apwyntiad Duw, V.$^{4-10}$

iii. Anghymwysder yr Hebreaid i dderbyn y gwirionedd V.$^{11}$-VI.$^{12}$

(1) Eu diffyg cynnydd mewn gwybodaeth, V.$^{11-14}$

(2) "Awn rhagom at berffeithrwydd," VI.$^{1-3}$

(3) Y perygl o syrthio ymaith oddiwrth Grist, VI.$^{4-8}$

(4) Gorffennol yr Hebreaid yn sail gobaith gwell am danynt, VI.$^{9-12}$

iv. Llw Duw yn sicrwydd gobaith y credinwyr, VI.$^{13-20}$

v. Crist yn offeiriad yn ol urdd Melchisedec, VII.

(1) Hanes Melchisedec, VII.$^{1-3}$

(2) Rhagoriaeth ei urdd ar eiddo Aaron, VII.$^{4-10}$

(3) Offeiriadaeth Aaron yn myned heibio, VII.$^{11-19}$

(4) Llw Duw yn sicrhau offeiriadaeth Crist, VII.$^{20-22}$

(5) Rhagoriaeth offeiriadaeth *un* ar eiddo *llawer*, VII.$^{23-25}$

(6) Crist yn offeiriad gweddus i ni, VII.$^{26-28}$

vi. Crist yn offeiriad gwirioneddol, VIII$^{1}$.-X.$^{18}$

(1) Am fyned o hono i'r gwir gysegr, VIII.$^{1-5}$
(2) Am ei fod yn offeiriad y cyfamod newydd, VIII.$^{6-13}$
(3) Desgrifiad o'r hen dabernacl a'i wasanaeth, IX.$^{1-7}$
(4) Aneffeithiolrwydd ei aberthau, IX.$^{8-10}$
(5) Rhagoriaeth aberth Crist, IX.$^{11-14}$
(6) Cyfryngwr y cyfamod newydd trwy ei waed ei hun, IX.$^{15-28}$
(7) Gwendid aberthau'r ddeddf, X.$^{1-5}$
(8) Ymgnawdoliad er mwyn aberthu, X.$^{6-9}$
(9) Un aberth mawr digonol, X.$^{10-18}$

IV. Anogaethau ymarferol, X$^{19}$-XIII.$^{25}$

i. Nesau at Dduw a dal y ffydd, X.$^{19-23}$

ii. Cyfrifoldeb Cristionogion a barn Duw, X.$^{24-31}$

iii. Ffyddlondeb gorffennol yr Hebreaid yn sail hyder presennol X.$^{32-39}$

iv. Teulu'r ffydd XI.$^{1-40}$

(I) Beth yw ffydd ? XI.$^{1-13}$
(2) Enghreifftiau o ffydd, XI.$^{4-32}$
(3) Gorchestion ffydd, XI.$^{33-40}$

v. "Rhedwn yr yrfa gan edrych ar Iesu," XII.$^{1-3}$

vi. Dioddefiadau yn ddisgyblaeth Duw Dad, XII.$^{4-11}$

vii. Y ddyledswydd i gynorthwyo a charu'r brodyr, XII.$^{12-17}$

viii. Cymharu treialon a breintiau'r Cristionogion â'r Israeliaid, XII.$^{18-29}$

ix. Amryw ddyledswyddau, XIII.$^{1-17}$

(1) Moesol a chymdeithasol, XIII.$^{1-6}$
(2) Flyddlondeb i arweinwyr, XIII.$^{7-8}$
(3) Gocheler cyfeiliornadau Iddewig, XIII.$^{9-14}$
(4) Addoliad a threfn eglwysig, XIII.$^{15-17}$

x. Cysylltiadau ac anerchiadau personol, XIII.$^{18-25}$

(1) Cais am weddi'r eglwys, XIII.$^{18-19}$
(2) Gweddi dros yr eglwys, XIII.$^{20-21}$
(3) "Goddefwch air y cynghor" XIII.$^{22}$
(4) "Ein brawd Timotheus," XIII.$^{23}$
(5) Anerchiadau, XIII.$^{24}$
(6) Gras, XIII$^{25}$

2. *Prif bwngc ei ddysgeidiaeth.* Cenadwri bennaf yr epistol yw fod crefydd Iesu Grist yn grefydd derfynol a pherffaith, oblegyd gorffwys ar berson aruchel Crist, yr hwn yw unig gyfryngwr iachawdwriaeth. Hanfod rhagoriaeth Crist yw ei fod yn sylweddoli'n llawn ynddo'i hunan egwyddorion datguddiad a chymod. Daw i'r golwg yn ei ragoriaeth ar y gyfundrefn Iddewig, yr hon y mae efe gan hynny yn ei symud ymaith ac yn ei chyflawni. Y meddylddrych llywodraethol yng nghynllun ymresymiad yr awdwr yw athrawiaeth "y gair" fel y dysgid hi gan Philo, a'r ffeithiau a ddwg i'w hesbonio ganddi yw hanes crefyddol Israel, fel y cyrhaeddodd ei uchafbwynt mewn Cristionogaeth. Ni cheisia mewn un modd brofi egwyddorion sylfaenol ei gyfundrefn ddelfrydol, nac ychwaith ei gynseiliau hanesyddol. Daw at ei waith wedi cymeryd y naill o Philo a'r llall o draddodiadau yr Iddewon, ac aiff ati i wneud y goreu o honynt fel y cafodd hwynt. Ni chymer ei athroniaeth grefyddol un cyfrif o'r byd paganaidd. Cynllun mewnol ei ymresymiad yw dangos cyfatebiaeth Iddewaith a Christionogaeth i'w gilydd o fewn cylch athrawiaeth y Gair. Cysyllta'r sylweddol (*actual*) a'r delfrydol â'u gilydd yn ol cyffelybiaeth gwrthgyferbyniadau Plato rhwng cysgod a gwirionedd, rhwng portread a'i wreiddiol. Er hynny, fe welir hefyd ddylanwad Aristotle, yr hwn a syniai am fodolaeth fel cwrs o ddatblygiad yn codi o radd i radd hyd nes cyrraedd perffeithrwydd yn Nuw. Felly rhed offeiriadaeth y gorffennol, ffydd y gorffennol, gorffwysfa'r gorffennol, i gael eu perffeithio mewn amcan a nód terfynol ar ddiwedd bob datblygiad ($10^{12}$, $11^{40}$; 4, 8, 9. Gwel adnodiad E.).

3. *Dylanwadau Alecsandria.* Dilynai'r awdwr ddull o ymresymu a arferid gan y Rabbiniaid Iddewig a chan athronwyr Alecsandria. Wedi gwneud ei osodiad, â yr awdwr ymlaen i'w brofi trwy ddyfynnu o'r HD ddarnau wedi eu cymeryd allan o'u cysylltiadau llenyddol ac hanesyddol ac wedi eu cymhwyso, ac hyd yn oed eu newid, i ateb ei amcan ef ar y pryd. Dyfais esboniadol arall a ddefnyddid yn Mhalestina ac yn Alecsandria oedd yr alegori, a cheir hi yn aml yn He (*e.g.* $3^{7}$, $4^{11}$ $13^{11\text{-}12}$). Ond gwahaniaetha alegori'r awdwr oddiwrth eiddo'r Rabbiniaid yn gymaint a'i fod ef, fel Philo, yn ei dwyn i fewn fel rhan o athroniaeth y byd a'i hanes. Esboniai ef y byd presenol, gweledig, a'i holl hanes fel alegori fawr, neu gysgod y pethau tragwyddol sydd yn y nefoedd

(1[5], 9[23-24], 10[1]). Nid oedd iddo ef ddim dyddordeb yn ffeithiau hanes ynddynt eu hunain, yn ysgrifenwyr yr HD a'r sefydliadau Iddewig, ac hyd yn oed bywyd Iesu Grist yn y cnawd, ond yn unig fel yr oeddynt yn gysgod neu ddelw yn cynrychioli y pethau nefol a thragwyddol. Prawf arall fod ei gysylltiad yn nes ag Alecsandria nag â Phalestina yw yr amrywiol gyfatebion ieithyddol a llenyddol rhyngddo a llyfr *Doethineb Solomon ac a Philo. Ceir y rhan fwyaf o dermau a brawddegau mwyaf nodweddiadol yr epistol yn yr awduron hyn. Cymaint yw'r tebygrwydd rhyngddo a'r blaenaf fel y dadleuodd Plumptre flynyddoedd yn ol fod yn rhaid mai yr un oedd awdwr y ddau lyfr. Yn Philo, daw ei ddeuoliaeth rhwng ymddangosiad a sylwedd i unoliaeth o fewn ei feddylddrych llywodraethol, y Gair, ac er na cheir y term hwn yn yr ystyr hon yn He, gosodir allan yr athrawiaeth mewn brawddegau Alecsandraidd yn yr adnodau agoriadol (1[1-3]). Fel y Gair, rhagora Crist ar y proffwydi oblegyd gorffen datguddio Duw ynddo Ef, saif uwchlaw'r angylion, cyfryngwyr yr hen gyfamod, haedda fwy gogoniant na Moses am iddo adeiladu gwir dabernacl Duw, ei dŷ tragwyddol. Y mae yn fwy gwaredwr na Joshua, oblegyd y dwg efe ei bobl i'w gorffwysfa dragwyddol, a chymer le yr offeiriadaeth o urdd Aaron, oblegyd gweini yr oeddynt hwy "mewn cysegr o waith llaw, portread y gwir *gysegr*" ac o dan ddeddf "yr hon sydd ganddi gysgod daionus bethau i ddyfod, ac nid gwir ddelw y pethau" (9[24], 10[1]), ond efe "wedi dyfod yn Arch-offeiriad y daionus bethau a fyddent, trwy dabernacl mwy a pherffeithiach, nid o waith llaw . . . . nid chwaith trwy waed geifr a lloi, eithr trwy ei waed ei hun, a aeth unwaith i mewn i'r cysegr, gan gael i ni dragwyddol ryddhad (9[11.12]).

4. *Yr egwyddor Gristionogol.* Byddai yn bosibl hefyd cysylltu gormod o bwys â dylanwad Alecsandria ar He, oblegyd er amlyced yw hi, nid hi yw'r peth mwyaf o lawer yn yr epistol. Dyfnach na'r esboniad alegoraidd ar frawddegau wedi eu cymeryd ar antur o'r LXX., dyfnach nag athroniaeth y Gair a roddodd ei ffurf i feddwl yr awdwr yw ei brofiad a'i syniad personol o Grist. Gorwedd ei ddyddordeb pennaf, nid yn y gyfundrefn feddyliol a fabwysiadodd o lenyddiaeth Alecsandria, ond yn y person byw, yr

* Ysgrifenwyd Doeth. Sol. gan Iddew yn yr Aifft, ac yn yr iaith Roeg, naill ai yn y ganrif olaf CC neu'r ganrif gyntaf OC. Ceir ef yn yr Apocrypha Cymraeg, ac fe dâl i'w ddarllen ar ei gyfrif ei hunan, ac am y goleu a deifl ar He.

hwn, er ei fod yn sylwedd gwirioneddol y tu ol i bob cysgod ac yn wir ddelw hanfod Duw, oedd hefyd yn frawd i ni, ac a fu fyw a marw ar y ddaear, "capten mawr ein hiachawdwriaeth," ein rhagflaenor i'r tu fewn i'r llen, yr hwn "a ddichon achub hyd yr eithaf y rhai trwyddo Ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod Ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy ($1^{1-4}$, $2^{14-18}$, $2^{10}$, $5^{7-9}$, $4^{14-15}$, $6^{20}$, $7^{25}$). Fel yn Paul a Ioan, felly yn He daw'r Crist byw, Crist hanes a phrofiad i fewn i roddi ystyr newydd a bywiol i ffurfiau athronyddol y meddwl Groegaidd a'u troi yn gyfundrefn iachawdwriaeth. O herwydd ei ragoriaeth hanfodol a phersonol ar holl sefydliadau a phersonau yr hen gyfamod, sylfaenodd Crist y cyfamod newydd, rhoddodd ddatguddiad newydd o Dduw, a chyhoeddodd efengyl newydd i ddyn. Ni chyll yr awdwr byth ei olwg ychwaith ar werth ac ystyr presennol y sylweddau tragwyddol i fywydau ei ddarllenwyr. Y maent yn bod er eu rhybuddio hwy rhag syrthio ymaith i anghrediniaeth, er eu hanogaeth yn ngwyneb erlidigaethau, ac er eu gobaith di-ddarfod tra y "rhedont yr yrfa a osodwyd o'u blaen, gan edrych ar Iesu, Pentywysog a Pherffeithydd ffydd" ($2^{3}$, $3^{12}$ &c., $4^{1}$ &c., $10^{28}$ &c., $12^{1-2}$, $12^{22}$ &c.).

# CYFIEITHAD O'R EPISTOL AT HEBREAID.

---

I.

Wedi i Dduw lefaru mewn llawer rhan a llawer modd yn y dyddiau gynt wrth y tadau trwy y proffwydi, yn niwedd y dyddiau hyn efe a lefarodd wrthym ni mewn Mab, yr hwn a osododd efe yn etifedd pob peth, trwy yr hwn hefyd y gwnaeth efe yr oesoedd, yr hwn [ac] efe yn ddisgleiriad allan [ei] ogoniant [ef], ac yn wir lun ei natur ef, ac yn cynnal y cyfanfyd trwy air ei nerth, wedi gwneuthur puredigaeth pechodau [trwyddo ei hun], a eisteddodd ar ddeheulaw'r Mawredd yn y goruwch-leoedd.

II.

Wedi dyfod yn uwch na'r angylion o gymaint ag yr etifeddodd efe Enw mwy urddasol na hwynthwy: oblegyd wrth bwy o'r angylion y dywedodd efe un amser,

Fy Mab ydwyt ti
Myfi heddyw a'th genhedlais di?

A thrachefn,

Myfi a fyddaf iddo ef yn Dad,
Ac yntau a fydd i mi yn Fab?

A phan ddwg efe drachefn y Cyntaf-anedig i mewn i'r byd, y mae yn dyweyd,

Ac addoled holl angylion Duw ef.

III.

Ac am yr angylion y mae yn dyweyd,

Yr hwn sydd yn gwneuthur ei angylion yn wyntoedd,
A'i wasanaethwyr yn fflam dân.

Ond wrth y Mab,

Dy orseddfaingc di, O Dduw [sydd] yn oes oesoedd,
Teyrnwialen dy deyrnas di yw teyrnwialen uniondeb.
Ceraist gyfiawnder a chaseaist anwiredd,
Am hynny y'th eneiniodd Duw, dy Dduw di,
Ag olew gorfoledd y tuhwnt i'th gymdeithion.

Ac,

Tydi yn y dechreuad, Arglwydd, a sylfaenaist y ddaear;
A gweithredoedd dy ddwylaw di yw y nefoedd;
Hwynthwy a ddarfyddant, ond tydi a barhei,
A hwynthwy oll fel dilledyn a heneiddiant.
Ac megis mantell y plygi di hwynt,
Fel dilledyn, a hwy a newidir.
Ond tydi yr un ydwyt, a'th flynyddoedd, ni bydd diwedd
arnynt.

Ond wrth ba un o'r angylion y dywedodd efe un amser,
Eistedd ar fy neheulaw
Hyd oni osodwyf dy elynion yn droedfaingc i'th draed?

Onid ysprydion gwasanaethgar ydynt hwy oll, wedi eu danfon i wasanaethu er mwyn y rhai sydd i etifeddu iachawdwriaeth?

IV.

Am hynny, rhaid i ni ddal sylw yn helaethach ar y pethau a glybuwyd, rhag digwydd i ni lithro heibio [iddynt]. Canys os gwnaed yn sicr y gair a lefarwyd trwy angylion, ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth, pa fodd y diangwn ni os wedi esgeuluso iachawdwriaeth gymaint, y fath un a gafodd ddechreuad i'w llefaru gan yr Arglwydd, ac a sicrhawyd hyd atom ni gan y rhai a'i clywsant [ef], a Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu trwy arwyddion a rhyfeddodau ac amrywiol nerthoedd a chyfraniadau o'r Yspryd Glân, yn ol gweithrediad ei ewyllys ef?

V.

Oblegyd nid i angylion y darostyngodd efe y byd [o ddynion] sydd i ddod, yr hyn yw ein testyn. Eithr un

mewn rhyw fan a roddodd dystioloeth gan ddywedyd,

Pa beth yw dyn i ti feddwl am dano?
Neu fab dyn i ti ymweled ag ef?
Dygaist ef yn ychydig yn îs na'r angylion,
A gogoniant ac anrhydedd y coronaist ef;
[Gosodaist ef hefyd ar weithredoedd dy ddwylaw:]
Darostyngaist bob peth dan ei draed ef.

Canys wrth ddarostwng y cyfanfyd iddo, ni adawodd efe ddim heb ei ddarostwng iddo; ond yn awr nid ydym ni eto yn gweled y cyfanfyd wedi ei ddarostwng iddo.

VI.

Eithr yr ydym ni yn canfod yr hwn a wnaed ychydig yn îs na'r angylion, Iesu, oblegyd dioddefaint marwolaeth wedi ei goroni â gogoniant ac anrhydedd, fel trwy râs Duw y profai flas marwolaeth dros bob dyn. Canys gweddus oedd iddo ef, amcan y cyfanfyd ac achosydd y cyfanfyd, wrth ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio Tywysog eu hiachawdwriaeth hwy trwy ddioddefiadau.

VII.

Canys yr hwn sydd yn santeiddio, a'r rhai santeiddir o'r un [y maent] oll. Am ba achos nid oes arno gywilydd eu galw hwy yn frodyr, gan ddywedyd,

Mynegaf dy enw di i'm brodyr,
Yng nghanol y gynulleidfa y'th folaf di;

a thrachefn,

Myfi a ymddiriedaf ynddo;

a thrachefn,

Wele fi, a'r plant a roddes Duw i mi.

Oblegyd hynny, gan fod y plant wedi cyfranogi o waed a chnawd, yntau hefyd yr un modd a gyfranogodd o'r un [pethau], fel trwy farwolaeth y dinystriai efe yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo, hynny yw, diafol; ac y gwaredai hwynt, cynifer ag oeddynt trwy ofn marwolaeth dros eu holl fywyd dan gaethiwed.

VIII.

Oblegyd fel y gwyddom oll, nid mewn angylion y cymer efe afael, ond yn hâd Abraham y cymer efe afael. Am ba achos y dylai efe ymhob peth ymdebygu i'w frodyr fel y deuai yn Arch-offeiriad tosturiol a ffyddlawn yn y pethau [sydd] tuag at Dduw, i wneuthur cymod dros bechodau y bobl? Canys yn gymaint a dioddef o hono, gan gael ei demtio, efe a ddichon gynorthwyo y rhai a demtir.

IX.

O herwydd paham, frodyr santaidd, cyfranogion o'r alwedigaeth nefol, ystyriwch Apostol ac Arch-offeiriad ein cyffes ni, Crist Iesu, fel un ffyddlawn i'r hwn a'i ordeiniodd ef, megis [y bu] Moses hefyd yn ei holl dŷ ef. Canys fe gyfrifwyd hwn yn haeddu mwy gogoniant na Moses, o gymaint ag y mae yr hwn a adeiladodd y tŷ yn cael mwy o anrhydedd na'r tŷ. Canys pob tŷ a adeiladir gan ryw un, ond yr hwn a adeiladodd bob peth [yw] Duw. A Moses yn wir [a fu] ffyddlawn yn ei holl dŷ ef megis gwas, eithr Crist megis Mab ar ei dŷ ef, tŷ yr hwn ydym ni, os daliwn ein gafael yn hyfder ac ymffrost [ein] gobaith, yn sicr [hyd y diwedd].

X.

Am hynny, megis y mae'r Yspryd Glân yn dywedyd,

Heddyw os gwrandewch ar ei leferydd ef,
Na chaledwch eich calonnau megis yn y llid,
Fel yn nydd y brofedigaeth yn y diffaethwch,
Lle trwy brawf y profodd
Ac y gwelodd eich tadau fy ngweithredoedd ddeugain mlynedd;
Am hynny y digiais wrth y genhedlaeth hon,
A dywedais, Y maent bob amser yn cyfeiliorni yn eu calonnau;
Ond ni adnabuant fy ffyrdd i;
Fel y tyngais yn fy llid,
Ni chant fyned i mewn i'm gorffwysfa.

## XI.

Edrychwch, frodyr, rhag digwydd y bydd yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth yn yr ymadawiad oddiwrth Dduw byw; eithr anogwch eich gilydd beunydd cyhyd ag y cyhoeddir "Heddyw," fel na chaleder neb o honoch trwy dwyll y pechod. Canys fe a'n gwnaed ni yn gyfranogion gyda Christ, os yn wir y daliwn afael yn nechreuad ein hyder yn sicr bydd y diwedd, tra y dywedir,

Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef,
Nā chaledwch eich calonnau megis yn y llid.

Canys pwy wedi gwrandaw a enynasant lid [Duw]? Onid pawb a ddaethant o'r Aifft trwy Moses? Ac wrth bwy y digiodd efe ddeugain mlynedd? Onid wrth y rhai a bechasant, y rhai y syrthiodd eu cyrff yn ddarnau yn yr anialwch? Ac wrth bwy y tyngodd efe na chaent hwy fyned i mewn i'w orffwysfa ef? Onid wrth y rhai nid ufuddhasant? Ac yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth.

## XII.

Ofnwn, gan hynny, rhag digwydd, tra y mae addewid wedi ei gadael i fyned i mewn i'w orffwysfa, barnu neb o honoch ei fod wedi syrthio'n fyrr. Canys efengylwyd i ninuau hefyd megis iddynt hwythau, ond ni bu'r gair a glybuwyd yn elw iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru trwy ffydd â'r rhai a glywsant. Canys yr ydym ni, y rhai a gredasom, yn myned i mewn i'r orffwysfa, megis y dywedodd efe,

Fel y tyngais yn fy llid
Ni chant fyned i mewn i'm gorffwysfa;

er fod y gweithredoedd wedi eu gwneuthur er seiliad y byd. Canys dywedodd mewn rhyw fan am y seithfed dydd fel hyn, A gorffwysodd Duw ar y seithfed dydd oddiwrth ei holl weithredoedd: ac yma o'r tu arall,

Ni chant fyned i mewn i'm gorffwysfa,

Am hynny, gan fod [hyn] yn aros [sef] fod rhai i fyned i mewn iddi, ac nad aeth y rhai a efengylwyd iddynt gyntaf i mewn oherwydd anufudd-dod, y mae efe yn pennu drachefn rhyw ddiwrnod, "Heddyw," gan ddywedyd yn Dafydd, ar ol cymaint o amser, fel y dywedwyd o'r blaen,

Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef,
Na chaledwch eich calonnau.

Canys pe rhoddasai Joshua iddynt orffwysfa, ni soniasai efe wedi hynny am ddiwrnod arall. Y mae gan hynny gadw Sabbath yn aros yn ystôr i bobl Dduw. Canys yr hwn a aeth i mewn i'w orffwysfa ef, hwnnw a orffwysodd [yr un pryd] oddiwrth ei weithredoedd ei hun, megis [y gwnaeth] Duw oddiwrth yr eiddo yntau. Brysiwn gan hynny i fyned i mewn i'r orffwysfa honno, fel na syrthio neb yn yr un fath esiampl o anufudd-dod.

## XIII.

Canys byw [yw] gair Duw ac egnïol, ac yn fwy treiddgar nag un cleddyf dau-finiog, yn gwanu trwodd hyd nes dadansoddi yr enaid a'r yspryd, y cymalau a'r mêr, ac yn abl i farnu meddyliau a bwriadau y galon. Canys nid oes dim crëedig yn guddiedig o'i olwg ef, ond pob peth yn noeth ac agored i'w lygaid ef, i'r hwn y rhaid i ninnau roddi cyfrif.

## XIV.

Am hynny, gan fod genym Arch-offeiriad mawr, yr hwn a aeth trwy y nefoedd, Iesu Mab Duw, glynwn wrth [ein] proffes. Oblegyd nid oes genym Arch-offeiriad nas gall gydymdeimlo â'n gwendidau ni, ond un wedi ei demtio yn mhob peth yn ol [ei] gyffelybrwydd [ef i ni], ar wahan i bechod. Am hynny awn gyda hyfder at orsedd-faingc y grâs, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom râs i fod yn gymorth amserol.

XV.

Canys pob Arch-offeiriad, gan ei fod wedi ei gymeryd o blith dynion, a osodir ar ran dynion, yn y pethau [sydd] tuag at Dduw, fel yr offrymo roddion ac aberthau dros bechodau, gan ei fod yn abl i gyd-ddwyn â'r rhai sydd mewn anwybodaeth ac amryfusedd, am ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid, ac am hynny y rhaid iddo megis dros y bobl felly hefyd drosto ei hunan offrymu am bechodau.

XVI.

Ac nid yw neb yn cymeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yn cael ei alw gan Dduw, megis [y galwyd] Aaron; felly y Crist hefyd, nis gogoneddodd ei hun i ddod yn Arch-offeiriad, ond yr hwn a ddywedodd wrtho,

Fy mab ydwyt ti,
Myfi heddyw a'th genhedlais.

[hwnw a'i gogoneddodd ef i ddod yn Arch-offeiriad]; fel y dywed hefyd mewn man arall,

Offeiriad wyt ti yn dragywydd
Yn ol urdd Melchisedec.

XVII.

Yr hwn yn nyddiau ei gnawd, wedi iddo gyda llefain cryf a dagrau, offrymu gweddiau ac erfyniau at yr hwn oedd yn abl i'w achub ef oddiwrth farwolaeth, a chael ei wrandaw o achos ei dduwioldeb, er ei fod yn Fab, a ddysgodd yr ufudd-dod trwy y pethau a ddioddefodd; ac, wedi ei berffeithio, efe a ddaeth i fod yn Awdwr iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai oll a ufuddhânt iddo, wedi ei gyfarch gan Dduw yn Arch-offeiriad yn ol urdd Melchisedec.

XVIII.

Am yr hwn y mae i ni lawer i'w draethu, ac anawdd i'w ddeongli a'i ddweyd, o achos eich bod chwi wedi myned yn hwyr-drwm eich clustiau; ac o herwydd,

pan y dylech fod yn athrawon o ran yr amser, y mae arnoch drachefn eisiau rhywun i ddysgu i chwi egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw; ac fe ddaethoch yn gyfryw y mae yn rhaid i chwi wrth laeth, ac nid bwyd cryf; canys pob un sydd yn byw ar laeth, dibrofiad yw yng ngair cyfiawnder, canys maban yw; eithr bwyd cryf a berthyn i'r rhai perffaith, y rhai o herwydd arferiad sydd a'u synhwyrau wedi eu disgyblu i wahaniaethu rhwng da a drwg.

XIX.

Am hynny, gan adael yn llonydd athrawiaeth dechreuad Crist, awn rhagom at berffeithrwydd, heb osod i lawr drachefn sail edifeirwch oddiwrth weithredoedd meirwon a ffydd tuag at Dduw, [sail] athrawiaeth bedyddiadau ac arddodiad dwylaw, a [sail] adgyfodiad y meirw a'r farn dragwyddol. A hyn a wnawn os caniatâ Duw.

XX.

Canys amhosibl yw adnewyddu drachefn i edifeirwch y rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant flas y rhodd nefol, ac a ddaethant yn gyfranogion o'r Yspryd Glân, ac a brofasant mor ardderchog yw gair Duw a nerthoedd y byd a ddaw, ac a syrthiasant ymaith, gan eu bod yn ail-groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn ei osod yn watwar. Canys y ddaear yr hon sydd yn yfed y gwlaw sydd yn mynych ddyfod arni, ac yn dwyn llysiau cymwys i'r rhai y llafurir hi erddynt, a dderbyn fendith oddiwrth Dduw; eithr yr hon sydd yn dwyn drain a mïeri [sydd] anghymeradwy ac agos i felldith, diwedd yr hon [fydd] llosgi.

XXI.

Ond daethom i gredu am danoch chwi anwylyd y pethau gwell, a rhai sydd ynglyn wrth iachawdwriaeth, er ein bod yn dywedyd fel hyn. Oblegyd nid [yw] Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith, a'r cariad yr

hwn a ddangosasoch tuag at ei enw ef, pan weiniasoch i'r saint, a thra yr ydych yn gweini [iddynt]. Ac yr ydym yn awyddus ar fod i bob un o honoch ddangos yr un diwydrwydd tuag at [feddu] cyflawnder y gobaith hyd y diwedd. Fel na ddeloch yn fusgrell, ond yn efelychwyr y rhai trwy ffydd ac hirymaros sydd yn etifeddu'r addewidion.

## XXII.

Canys Duw, wrth wneuthur addewid i Abraham, am na allai dyngu yn enw neb [oedd] fwy, a dyngodd yn ei enw ei hun, gan ddywedyd: Yn ddiau, gan fendithio y'th fendithiaf, a chan amlhau y'th amlhâf. Ac felly, wedi iddo hir-ymaros, efe a gafodd [gyflawniad] yr addewid. Canys dynion yn wir sydd yn tyngu yn enw un mwy, a llw iddynt hwy sydd yn ben ar bob dadl i sicrhad. Am hynny, gan fod Duw yn dewis dangos yn helaethach i etifeddion yr addewid ddi-anwadalwch ei fwriad, efe a gyfryngodd trwy lw, fel trwy ddau beth di-anwadal, yn y rhai [yr oedd] yn amhosibl i Dduw fod yn gelwyddog, y caffem ni anogaeth gref, y rhai a ffoisom i gymeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen: Yr hwn sydd gennym megis angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr, ac yn myned i fewn i'r tu fewn i'r llen, i'r man yr aeth Iesu i fewn yn Rhag-flaenor drosom ni, gan ddyfod yn ol urdd Melchisedec yn Arch-offeiriad yn dragwyddol.

## XXIII.

Canys y Melchisedec hwn, brenin Salem, offeiriad y Duw goruchaf, yr hwn a gyfarfu ag Abraham yn dychwelyd o daro'r brenhinoedd, ac a'i bendithiodd ef; i'r hwn hefyd y cyfrannodd Abraham ddegwm o bob peth; yr hwn yn gyntaf o'i gyfieithu [yw] brenin cyfiawnder, ac yna drachefn brenin Salem, yr hyn yw brenin heddwch: heb dad, heb fam, heb linach, heb fod iddo na dechreu dyddiau na diwedd einioes, wedi ei gyffelybu i Fab Duw, a erys yn offeiriad yn barhaus.

## XXIV.

Gwelwch mor fawr [oedd] hwn, i'r hwn y rhoddodd Abraham y patriarch ddegwm o oreuon yr anrhaith. A'r rhai yn wir sydd o feibion Lefi yn derbyn gweinidogaeth yr offeiriadaeth sydd ganddynt orchymyn i ddegymu'r bobl yn ol y gyfraith, sef eu brodyr, er eu bod wedi dyfod o lwynau Abraham. Ond yr hwn nad oedd ei linach o honynt hwy a ddegymodd Abraham, ac a fendithiodd yr hwn y mae yr addewidion ganddo. Ac heb unrhyw wrthddadl, y llai a fendithir gan ei well. Ac yma, yn wir, dynion y rhai sydd yn meirw a gymerant ddegymau, eithr yno yr hwn y tystiolaethwyd am dano ei fod yn fyw. Ac mewn ystyr, trwy Abraham, degymwyd hefyd Lefi yr hwn sydd yn derbyn degymau, oblegid yr oedd efe eto yn lwynau ei dad pan gyfarfu Melchisedec âg ef.

## XXV.

Pe buasai gan hynny berffeithiad trwy'r offeiriadaeth Lefïaidd (oblegid ar sail honno y rhoddwyd y gyfraith i'r bobl), pa raid mwyach fuasai i offeiriad gwahanol godi yn ol urdd Melchisedec, ac nad enwid ef yn ol urdd Aaron? Canys pan newidir yr offeiriadaeth, o angenrheidrwydd daw hefyd gyfnewidiad cyfraith. Oblegyd daeth yr hwn y dywedir y pethau hyn am dano yn gyfrannog o lwyth gwahanol, o'r hwn nid oes neb wedi gwasanaethu'r allor. Canys eglur [yw] mai o Juda y cododd ein Harglwydd, am yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim o berthynas i offeiriaid. Ac y mae yn fwy eglur eto o lawer iawn gan fod offeiriad gwahanol yn codi yn ol cyffelybrwydd Melchisedec, yr hwn sydd wedi dyfod nid yn ol rheol gorchymyn cnawdol, ond yn ol nerth bywyd anadfeiliadwy. Canys tystiolaethir,

Offeiriad wyt ti yn dragywydd,
Yn ol urdd Melchisedec.

Oblegid diddymu gorchymyn rhagarweiniol o herwydd ei wendid a'i afles (canys ni pherffeithiodd y gyfraith

ddim), ond dygir i mewn yn ychwanegol obaith gwell, trwy yr hwn yr ydym yn nesau at Dduw.

XXVI.

Ac yn gymaint nad heb dyngu llw—(canys y rhai hynny yn wir ydynt wedi dyfod yn offeiriaid heb dyngu llw, ond hwn trwy dyngu llw, trwy yr hwn a ddywed wrtho,

Tyngodd yr Arglwydd ac nid edifarha,
Offeiriad wyt ti yn dragywydd),

ar gyfamod o gymaint a hynny yn well y daeth Iesu yn Fachnïydd.

XXVII.

Ac [ohonynt] hwy yn wir llawer sydd wedi dod yn offeiriaid, oblegyd lluddio iddynt aros gan farwolaeth, ond efe, gan ei fod yn aros yn dragywydd, sydd a chanddo offeiriadaeth ddidor. Am hynny y mae yn alluog hefyd i achub hyd yr eithaf y rhai sydd yn dyfod at Dduw trwyddo ef, gan ei fod yn byw bob amser i eiriol drostynt.

XXVIII.

Canys y cyfryw un oedd yn gweddu i fod i ni yn Arch-offeiriad, [un] santaidd, di-ddrwg, dihalog, wedi ei ddidoli oddiwrth bechaduriaid, ac wedi dyfod yn uwch na'r nefoedd, yr hwn nid oes raid iddo beunydd fel yr arch-offeiriaid offrymu aberthau yn gyntaf dros ei bechodau ei hunan, ac yna dros eiddo'r bobl ; canys hyn a wnaeth efe unwaith am byth pan offrymodd ei hun. Canys gesyd y gyfraith ddynion a gwendid ynddynt yn arch-offeiriaid, ond gair y llw yr hwn a fu wedi y gyfraith [a esyd] Fab wedi ei berffeithio yn dragywydd.

# GWERSI SABOTHOL A GOFYNIADAU ARWEINIOL.

(1) **Teitl a ffurf lenyddol yr Epistol** (Rhagarweiniad I.-II.)

(*a*) Beth yw egwyddor ac amcan beirniadaeth Feiblaidd?
(*b*) Beth yw'r gwahaniaeth rhwng llythyr a thraethawd? Pa un yw He?
(*c*) Cymharwch He âg epistolau Paul, o ran eu ffurfiau.
Darllener Pen. I. a II. yn y ddau gyfieithad, gan sylwi ar y gwahaniaethau rhyngddynt.

(2) **Awduraeth yr Epistol** (Rhagarweiniad III.)

(*a*) Pa faint o hanes a nodweddion yr awdwr ellir gasglu oddiwrth He?
(*b*) Pa resymau sydd dros gredu nad Paul oedd yr awdwr?
(*c*) Cymharwch y rhesymau dros awduraeth Barnabas ac Apolos.
Darllener Pen. III. a IV.

(3) **Cyfeiriad ac Amseriad yr Epistol** (Rhagarweiniad IV.-V.)

(*a*) Faint o hanes ei ddarllenwyr cyntaf ellir gasglu o'r Epistol ei hunan?
(*b*) Pa resymau sydd dros ac yn erbyn tybied mai Iddewon oeddynt?
(*c*) Sut y deallwch y cyfeiriadau at erlidiau yn yr Epistol?
Darllener Pen. V. a VI.

(4) **Cynnwys a dysgeidiaeth yr Epistol** (Rhagarweiniad VI.)

(*a*) Beth oedd prif amcan ysgrifennu He?
(*b*) Beth yw ei brif fater neu faterion?
(*c*) Eglurwch y termau cysgod a sylwedd, datblygiad a nôd, ffydd a gobaith.
Darllener Pen. VII.

(5) **Adolygu'r Rhagarweiniad.**

(*a*) Beth olygir wrth Ganon y TN ? Pa ddylanwad gafodd ei ffurfiad ar y syniadau am awduraeth He ?
(*b*) Pa gysylltiadau hanesyddol ac athrawiaethol oedd rhwng He ac Alecsandria ?
(*c*) Cymharwch ddysgeidiaeth He, o ran ei thebygolrwydd a'i gwahaniaeth, âg eiddo ysgrifenwyr eraill y TN.

(6) **Athrawiaeth Datguddiad** ($1^{1}$).

(*a*) Beth oedd syniad yr awdwr am Dduw ?
(*b*) Pa gysylltiad sydd rhyngddo a'i syniad am ddatguddiad ?
(*c*) Eglurwch y frawddeg, "diwedd y dyddiau hyn."

(7) **Y Mab a'r Cread** ($1^{2}$).

(*a*) Pa ystyrron gwahanol roddir i'r gair "gwnaeth" yn adn. 2 ?
(*b*) Beth yw'r "bydoedd" ?
(*c*) Gwahaniaethwch rhwng achos terfynol ac achos effeithiol.

(8) **Y Mab a'r Tad** ($1^{3}$).

(*a*) Pa resymau sydd dros newid y Cyf. Cym. yn yr adn. hon ?
(*b*) Beth ddysgir yma am berthynas hanfodol y Tad a'r Mab â'u gilydd ?
(*c*) Pa bryd yr eisteddodd y Mab ar ddeheulaw'r Mawredd ?

(9) **Adolygu** $1^{1\text{-}3}$ **gydag Adnodiad A.**

(*a*) Cymharwch y ddysgeidiaeth yma am natur ddwyfol Crist âg athrawiaeth y Gair yn Ioan.
(*b*) Pa le roddir i Grist mewn creadigaeth a rhagluniaeth ?
(*c*) Nodwch y prif bwyntiau ym mherson a gwaith Crist a'i gwnaeth yn Waredwr.

(10) **Rhagoriaeth y Mab ar yr angylion** ($1^{4\text{-}6}$).

(*a*) Pa ystyr arbennig roddir i'r gair "enw" yn y Beibl ?
(*b*) Pa bryd y cafodd Crist ei enw arbennig o Fab ? Beth oedd ei ystyr ?
(*c*) Rhoddwch wahanol ystyrron y gair "cyntafanedig."

(11) **Tragwyddol barhad y Mab** ($1^{7-9}$).

(*a*) Beth ddysga'r awdwr am natur yr angylion
(*b*) Beth oedd amcan ac ystyr adn. 8 a 9 pan lefarwyd hwy gyntaf ?
(*c*) Pa brawfion sydd yn yr adnodau hyn o dragwyddoldeb y Mab ?

(12) **Gwahanol safleoedd y Mab a'r angylion** ($1^{10-14}$).

(*a*) Beth oedd y syniad Hebreig am ddull a threfn y cread ?
(*b*) Beth oedd cenadwri wreiddiol Salm 110 ?
(*c*) Pa le ymarferol oedd i'r angylion yn y grefydd Iddewig ?

(13) **Adolygu $1^{4-14}$ gydag Adnodiad B.**

(*a*) Beth oedd yr athrawiaeth Iddewig am yr angylion ?
(*b*) Nodwch brif bwyntiau rhagoriaeth Crist ar yr angylion.
(*c*) I ba amcan y danghosai'r awdwr ragoriaeth Crist ar yr angylion ?

(14) **Y perygl o esgeuluso** ($2^{1-4}$).

(*a*) Eglurwch y frawddeg "gollwng i golli."
(*b*) Pa fodd y cosbid anufudd-dod dan yr hen oruchwyliaeth ?
(*c*) Beth yw dysgeidiaeth yr epistol am "iachawdwriaeth ?"

(15) **Iselder ac urddas dyn** ($2^{5-8a}$).

(*a*) Beth olygir wrth y "byd a ddaw ?"
(*b*) Eglurwch y frawddeg, "un mewn rhyw fan a dystiolaethodd."
(*c*) Beth oedd ystyr wreiddiol Salm $8^{4-6}$, a pha esboniad roddir arni yn He ?

(16) **Ymostyngiad Crist** ($2^{8b-10}$).

(*a*) Pa bryd y daw Crist i'w deyrnas a'i goron ?
(*b*) Ym mha ystyr y daeth efe yn îs na'r angylion ?
(*c*) Pa fodd y gellir "perffeithio" Crist ?

(17) **Undeb Crist â dynion** ($2^{11-15}$).

(*a*) Beth olygir wrth santeiddio (i) yn He, (ii) yn Paul ?
(*b*) Sut y profa'r awdwr unoliaeth Crist â dynion ?
(*c*) Ym mha ystyr y mae nerth marwolaeth gan y diafol ?

(18) **Cydymdeimlad y Gwaredwr** ($2^{16-18}$).

(*a*) Sut y dylid cyfieithu adn. 16?
(*b*) Paham y dywedir "hâd Abraham" yn hytrach na "dynion"?
(*c*) Pa cyhyd a pha fodd y temtiwyd Crist?

(19) **Adolygu $2^{1-18}$ gydag Adnodiad D.**

(*a*) Beth ellir wybod am droedigaeth yr "Hebreaid"?
(*b*) Nodwch brif bwyntiau dysgeidiaeth yr awdwr am Iesu Grist.
(*c*) Pa amcan oedd ganddo mewn golwg wrth ddysgu ymostyngiad a dynoliaeth Crist?

(20) **Rhagoriaeth Crist ar Moses**, ($3^{1-6}$).

(*a*) Beth yw "ein cyffes ni"?
(*b*) Eglurwch syniad yr awdwr am genadwri Moses.
(*c*) Eglurwch ddameg y "tŷ." Tŷ pwy? Beth oedd lle Crist ynddo?

(21) **Anghrediniaeth Israel** ($3^{7-11}$).

(*a*) Beth oedd cenadwri wreiddiol Salm 95?
(*b*) Pa ystyrron sydd i'r gair "calon" yn y Beibl?
(*c*) Rhoddwch ddysgeidiaeth yr HD ag eiddo Crist am "dyngu."

(22) **Rhybuddion rhag anghrediniaeth** ($3^{12-15}$).

(*a*) Beth oedd natur ac achos perygl ysprydol yr "Hebreaid"?
(*b*) Pa adeg olyga'r awdwr wrth "heddyw"?
(*c*) Beth yw "dechreuad ein hyder"?

(23) **Tynged yr anghredinwyr** ($3^{16-19}$).

(*a*) Sut y dylid cyfieithu adn. 16-19? Rhoddwch resymau.
(*b*) Paham nad allai'r Israeliaid fyned i mewn i Ganaan?
(*c*) Pa brawfion sydd o'r HD fod digofaint Duw at Israel wedi parhau deugain mlynedd?

(24) **Adolygu $3^{1-19}$ gydag Adnodiad C.**

(*a*) Pa bwyntiau arbenigol sydd yn nysgeidiaeth yr awdwr am anghrediniaeth?
(*b*) Beth yw alegori? Pa ddefnydd wneir o honi yn He?
(*c*) Beth ellir gasglu oedd syniad yr awdwr am ysprydoliaeth yr HD?

(25) **Yr addewid am orffwysfa** ($4^{1-3}$).

(*a*) Pa le y ceir yr addewid am orffwysfa ?
(*b*) Eglurwch y brawddegau (i.) "rhag bod neb o honoch yn debyg o fod yn ol," (ii.) "wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai â'*i* clywsant."
(*c*) Pwy sydd yn myned i mewn i'r orffwysfa ? Pa fodd ?

(26) **Y sicrwydd fod gorffwysfa** ($4^{4-10}$).

(*a*) Eglurwch ffordd yr awdwr o brofi fod gorffwysfa.
(*b*) Sut y deallir nad arweiniodd Joshua y genedl i orffwysfa ?
(*c*) Paham y gelwir hi yn orffwysfa Duw ?

(27) **Anogaethau i fyned i mewn i'r orffwysfa** ($4^{11-13}$).

(*a*) Pa berthynas rhwng Duw a'i air a ddysgir yma ?
(*b*) Nodwch yn fanwl a chywir y nodweddion a briodolir i'r gair.
(*c*) Eglurwch syniad yr awdwr am gyfansoddiad dyn.

(28) **Adolygu** $4^{1-13}$ **gydag Adnodiad E.**

(*a*) Dadansoddwch syniad yr awdwr am orffwysfa'r saint.
(*b*) Pa brawfion a rydd efe fod gorffwysfa ?
(*c*) Pa fodd y mae natur gair Duw yn rhybudd rhag anghrediniaeth ?

(29) **Yr Arch-offeiriad Mawr** ($4^{14-20}$).

(*a*) Eglurwch "Yr hwn a aeth i'r nefoedd."
(*b*) Paham y gall yr Iesu gydymdeimlo â dynion ?
(*c*) Beth oedd elfennau ei demtiad ?

(30) **Cymhwysderau arch-offeiriad** ($5^{1-3}$).

(*a*) Pa debygrwydd a gwahaniaeth a nodir rhwng yr offeiriaid Iddewig a Christ ?
(*b*) Beth oedd cylch effeithiolrwydd yr aberthau Iddewig ?
(*c*) Pa wahaniaeth wneir rhwng rhoddion ac aberthau ?

(31) **Apwyntiad arch-offeiriad** ($5^{4-6}$).

(*a*) Paham na ddylai offeiriad gymeryd ei swydd o'i ben ei hunan ?
(*b*) Pa bryd a pha fodd y galwyd Aaron i'r offeiriadaeth ?
(*c*) Paham y dyfynnir "Tydi yw fy Mab" yn y fan hon ?

(32) **Ufudd-dod Crist** ($5^{7-10}$).

(*a*) Pa sail i adn. 7 sydd yn yr efengylau ? A oes gwabaniaeth ?
(*b*) Eglurwch "yr hwn sydd yn abl i'w achub ef oddiwrth farwolaeth."
(*c*) Yn mha ystyr y dysgodd yr Iesu ufudd-dod ?

(33) **Adolygu** $4^{14}$-$5^{10}$.

(*a*) Pa brawfion sydd fod Crist yn ddi-bechod ?
(*b*) Beth oedd swydd a gwaith offeiriad ?
(*e*) Sut y dengys hanes Crist ei fod yn meddu y cymhwysder i fod yn Arch-offeiriad ?
(*d*) Pa fodd yr atebwyd gweddi Crist yn Gethsemane ?

(34) **Difaterwch yr "Hebreaid"** ($5^{11-14}$).

(*a*) Eglurwch "hwyr-drwm eich clustiau."
(*b*) Paham yr oedd gwybodaeth yr "Hebreaid" mor elfennol ?
(*c*) Cymharwch yr "Hebreaid" â'r Corinthiaid.

(35) **Cymhelliad i gynnydd** ($6^{1-3}$).

(*a*) Beth oedd yr "ymadrodd sydd yn dechreu rhai yng Nghrist"?
(*b*) A ellir yn briodol galw'r athrawiaethau hyn yn efengyl ?
(*c*) Desgrifiwch yn gywir gyflwr ysprydol yr "Hebreaid."

(36) **Breintiau uchel a pherygl mawr** ($6^{4-5}$).

(*a*) Eglurwch bob un o'r pum' gras a nodir yn yr adnodau hyn.
(*b*) Nodwch engreifftiau o honynt o rannau eraill o'r ysgrythyr.
(*c*) A ellir eu meddu heb fod ar y pryd yn wir Gristion ?

(37) **Tynged y gwrthgiliwr** ($6^{6-8}$).

(*a*) Beth yw "syrthio ymaith" ac "ail-groeshoelio Mab Duw?"
(*b*) Paham y dywed yr awdwr ei bod yn amhosibl adnewyddu'r fath wrthgilwyr?
(*c*) Eglurwch gymhariaeth y ddaear.

(38) **Adolygu $5^{11}$-$6^{8}$ ac Adnodiad F.**

(*a*) Danghoswch berthynas dysgeidiaeth yr adran hon âg athrawiaethau cariad Duw a rhyddid ewyllys dyn.
(*b*) Cymharwch y ddysgeidiaeth âg eiddo Crist ar y pechod anfaddeuol.
(*c*) A oes gwahanol raddau o wrthgiliad?

(39) **Hyder yr awdwr am yr "Hebreaid"** ($6^{9-12}$).

(*a*) Beth olygir wrth fod yr "Hebreaid" wedi gweini i'r saint?
(*b*) Pa berthynas sydd rhwng cyfiawnder Duw a thynged dyn?
(*c*) Pwy oedd y rhai oedd yn etifeddu'r addewidion?

(40) **Llw a chyngor Duw** ($6^{13-17}$).

(*a*) Beth oedd addewid Duw i Abraham? Pa fodd y cyflawnwyd hi?
(*b*) Paham (i.) y tyngodd Duw, ac (ii.) y tyngodd iddo'i hunan?
(*c*) Beth yw gwasanaeth yr adnodau hyn yn ymresymiad yr awdwr? Danghoswch eu cysylltiad â'r hyn sydd o'u blaen ac ar eu hol?

(41 **Gobaith y credadyn** ($6^{18-20}$).

(*a*) Beth yw'r "ddau beth dianwadal"?
(*b*) Eglurwch y ffigyr "angor yr enaid."
(*c*) Ym mha ystyr y mae'r Iesu'n Rhagflaenor y credinwyr

(42) **Melchisedec** ($7^{1-3}$).

(*a*) Rhoddwch grynhodeb o hanes Melchisedec.
(*b*) Beth ychwanegir at ei hanes yn He?
(*c*) Beth oedd ystyr y frawddeg "Duw goruchaf" yn Gen?

(43) **Rhagoriaeth Melchisedec ar Abraham** ($7^{4-7}$).

(*a*) Rhoddwch hanes yr arfer o dalu degwm.
(*b*) Beth oedd trefniadau deddf Moses ynglyn â thalu degwm ?
(*c*) Beth olygir wrth fendithio ?

(44) **Rhagoriaeth Melchisedec ar Aaron** ($7^{8-10}$).

(*a*) Ym mha ystyr y dywedir fod Melchisedec yn fyw ?
(*b*) Pa fodd y talodd Lefi ddegwm i Melchisedec ?
(*c*) Cymharwch yr athrawiaeth Iddewig am unoliaeth yr hil ddynol â dysgeidiaeth gwyddoniaeth am etifeddeg.

(45) **Yr offeiriadaeth a'r gyfraith** ($7^{11-14}$).

(*a*) Beth oedd lle offeiriadaeth mewn crefydd ? A ellir cael crefydd heb offeiriadaeth ?
(*b*) Beth oedd rheol llinach yr offeiriaid Iddewig ?
(*c*) Pa fodd y profir fod Crist o lwyth Juda ?

(46) **Methiant yr offeiriadaeth Iddewig** ($7^{15-19}$).

(*a*) Beth oedd yn " eglurach o lawer " (adn. 15) ?
(*b*) Beth oedd y gwahaniaeth yng nghyfansoddiad y ddwy offeiriadaeth ?
(*c*) Pa beth wnaeth y gyfraith, a pha beth na wnaeth hi ?

(47) **Adolygu**. $6^{9}$-$7^{19}$.

(*a*) Sut y cysylltir gobaith y credadyn âg offeiriadaeth Crist ?
(*b*) Eglurwch y cynllun esboniadol trwy yr hwn y deillia'r awdwr ei syniad am Melchisedec o Gen. 14.
(*c*) Nodwch brif bwyntiau rhagoriaeth Melchisedec ar yr offeiriaid Iddewig.
(*d*) Beth yw "perffeithrwydd trwy offeiriadaeth"? Paham y syrthiai'r offeiriaid Lefiaidd yn fyrr o hono ?

(48) **Offeiriad ar gyfamod gwell** ($7^{20-22}$).

(*a*) Sut y dylid gorffen adn. 20 ?
(*b*) Beth olygir wrth edifeirwch Duw ?
(*c*) Beth yw Machnïydd ? Ym mha ystyr y mae Crist yn Fachnïydd ?

(49) **Lawer ac Un** ($7^{23-25}$).

(*a*) Pa ystyr arbennig roddai athronwyr Groeg i *lawer* ac *un ?*
(*b*) Beth yw " cwbl iachau "?
(*c*) Rhoddwch wahanol ystyrron y gair gyfieithir *eiriol*, a'i ystyr yn y fan hon.

(50) **Arch-offeiriad cymwys i ni** ($7^{26-28}$).

(*a*) Paham y geilw'r awdwr Grist weithiau yn *Offeiriad* a phryd arall yn *Arch-Offeiriad ?*
(*b*) Ym mha ystyr yr oedd Crist yn " ddidoledig oddiwrth bechaduriaid "?
(*c*) Pwy oedd yn " offrymu beunydd "?

(51) **Adolygu** $7^{20-28}$

(*a*) Nodwch brif bwyntiau rhagoriaeth Crist fel offeiriad ar yr offeiriaid eraill.
(*b*) Beth yw'r gwahaniaeth rhwng *testament* a *chyfamod ?* Pa un olyga'r awdwr yn yr adran hon ?
(*c*) Pa berthynas sydd rhwng meichnïaeth ac offeiriadaeth Crist ?
(*d*) Danghoswch gymhwysder person Crist fel Mab i gyflawni'r swydd offeiriadol.

(52) **Adolygu'r holl adran.**

(*a*) Pa beth wyddis am yr awdwr a'i ddarllenwyr ?
(*b*) Eglurwch ei amcan a'i gynllun wrth brofi rhagoriaeth Cristionogaeth ar Iddewaeth.
(*c*) Nodwch y prif bwyntiau yn yr epistol y gwelir dylanwad athroniaeth Groeg arnynt.
(*d*) Beth yw athrawiaeth yr epistol am berson Crist ?
(*e*) Paham y dewisodd yr awdwr egluro Crist o dan y syniad o offeiriad ?
(*f*) Paham y gosododd efe offeiriadaeth Crist allan o dan ffigyr Melchisedec ?

# EPISTOL PAUL AT YR HEBREAID.

*Y Teitl.* Nid oedd i'r llyfr yn ei ffurf wreiddiol unrhyw deitl. Yn y llawysgrifau hynaf sydd ar gael (o'r 4edd a'r 5ed ganrif) ceir yn unig y ddau air, "At Hebreaid," ac nid oedd y rhai hyn ond casgliad rhyw gopïwr oddiwrth gynnwys y llyfr. Mewn copïau diweddarach ceir y teitl, "Yr Epistol at yr Hebreaid," a hwn fabwysiadwyd yng nghyfieithad W. Salesbury. Daeth y teitl presennol o'r cyfieithadau Lladin a Saesneg, a chawsant hwythau ef o'r copïau Groeg diweddaraf. Nid yw hwn ond adlewyrchiad o draddodiad na ddaeth yn gyffredin cyn y bumed ganrif. Nid yw unrhyw deitl felly yn rhan o'r llythyr ei hunan.

## I. DATGUDDIAD DUW YN EI FAB, I.-II.

i. **Crist yn gyflawnder Datguddiad,** $1^{1-3}$.—Disgynna'r awdwr ar unwaith i galon ei bwnc, heb gyfarchiad na rhagymadrodd nac unrhyw ymdroi. Testyn y llythyr yw Iesu Grist fel cyfryngwr iachawdwriaeth gyflawn a therfynol; (1) fel proffwyd neu ddatguddiwr Duw i ddyn; ac (2) fel offeiriad neu gymodwr Duw â dyn. Holl swm crefydd yw dwyn dyn a Duw at eu gilydd, trwy fod Duw yn mynegi ei hunan i ddyn, ac yn symud yr elyniaeth a'r dieithrwch a grea pechod rhwng dyn ag yntau. Eglurir y pwnc trwy gyfres o gyferbyniadau rhwng Cristionogaeth ac Iddewaeth, rhwng Crist a chyfryngwyr a chyfryngau yr hen gyfamod. Yn yr adran hon, cyferbynnir Crist â'r proffwydi fel datguddiwr Duw. Cynhwysai dysgeidiaeth y proffwydi yr oll o *ddatguddiad* yr HD; nid yw llyfrau eraill yr HD ond hanes sylweddoliad y gwirioneddau a roddwyd trwy'r proffwydi. Felly gesyd yr awdwr ger bron ar unwaith yn yr adran hon holl egwyddorion sylfaenol ei ymresymiad, a gweithia hwynt allan mewn gwrthgyferbyniadau manylach yn ol llaw rhwng Crist a'r angylion, a Moses ac a'r offeiriad. Trwy'r proffwydi

1 Duw, wedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd gynt wrth

---

mynegodd Duw ei feddwl yn rhannol a graddol, ac am hynny yn anghyflawn ac amherffaith, ond yng Nghrist yn berffaith un waith am byth. Cwrs o ddatblygiad graddol o'r llai i'r mwy perffaith, ond o hyd yn syrthio'n fyrr ac yn edrych ymlaen at ei well, a fu'r datguddiad o Dduw o dan yr hen oruchwyliaeth (Es. 28[10-11]). Ond yng Nghrist cyrhaeddodd ei nôd a'i ddelfryd, am ei fod ef yn Fab Duw, yn gyfrannog o natur Duw, yn etifedd ac awdwr pob peth, ac yn sefyll uwchlaw pawb a phob peth yn ymyl Duw. Dyna egwyddor a hanes datguddiad. Er na chymer yr awdwr i sylw y datguddiad o Dduw mewn natur, ac yn y crefyddau paganaidd (fel y gwna Paul yn Rhuf. 1 a 2), eto syrthiant yn ddigon naturiol i'r gyfundrefn hon fel cysgodion gwannach nag Iddewaeth o'r sylwedd, a lled debyg y gwyddai yr awdwr hynny.

1. *Duw.* Er y gwahaniaeth rhwng yr hen destament a'r newydd, o'r un Duw y mae'r ddau. Cwestiwn barodd anhawster hir i'r Cristionogion yn y ddwy ganrif gyntaf oedd perthynas Cristionogaeth ag Iddewaeth. Torri'r cwlwm yn lle ei ddatod a wnai Marcion a'r Gnosticiaid, gan ddweyd mai nid yr un Duw oedd awdwr y ddwy gyfundrefn, ac felly nad oedd angen cysoni pethau gwahanol, nid yn unig mewn ymddangosiad, neu yn rhannol, ond yn eu gwraidd a'u hanfod. Dysgodd awdwr He ei athrawiaeth am Dduw yn yr HD, trwy gyfrwng Iddewaeth ddiweddarach, ac yn debygol o dan ddylanwad yr athronwyr Helenistaidd, hynny yw, Iddewon na siaradent ond yr iaith Roeg. Jehofah, Duw'r teulu a'r llwyth a'r genedl oedd Efe ar y cyntaf, ond dysgasai'r Iddewon er's pum' can' mlynedd bellach feddwl am dano fel yr unig Dduw goruchel, Arglwydd nef a daear, a Brenin pawb oll. Ond wrth ei ddiosg o derfynau syniadau rhy ddaearol a dynol yr hen oesau, collasant y teimlad o'i agosrwydd byw at ddynion. Pan ddysgodd Iesu Grist fod Duw yn Dad, dygodd Ef yn ol o'r eangderau i gymdeithas agos â dyn ar y ddaear,

y tadau trwy y prophwydi, yn y dyddiau diweddaf hyn a lefarodd

---

Ond y mae ol dylanwad yr Iddew a'r Groegwr i raddau helaeth ar ddysgeidiaeth He am Dduw. Uchfodol a phell yw Efe, ac yn ymwneud â dyn yn unig trwy gyfryngwyr. (Gwel T. Rees: *Duw, ei Fodolaeth a'i Natur*, Pen. II.).

*Wedi idddo lefara . . . a lefarodd:* Iaith yw cyfrwng goreu dyn i fynegi ei feddwl, ac yng ngeiriau'r proffwydi yr oedd Duw mewn ystyr yn llythyrennol yn llefaru. Eto, yn ffigurol yn unig y gellir son am Dduw ei hunan yn llefaru; dyna'r ffordd hawddaf i ni geisio ffurfio syniad am dano yn mynegi ei feddwl. Am hynny, y Gair y gelwir hefyd y person y mynega Duw ei feddwl i ddyn ynddo a thrwyddo. (Ioan 1[1]).

*Lawer gwaith:* gwell **Mewn llawer rhan:** *by divers portions* (C.S.D.). Datguddiwyd y cyfamod i Abraham, y ddeddf i Moses, santeiddrwydd a thrugaredd Duw i'r proffwydi, ond darniog, rhannol, ac amherffaith oedd y datguddiad ar y goreu.

*Llawer modd* neu ddull, megis trwy angel (Barn. 6[12-24]) neu weledigaeth (Es. 6) neu freuddwyd (1 Bren. 3[5]), ond gan amlaf trwy ysprydoliaeth fewnol (2 Pedr 1[21] a gwel Num. 12[6-8]). Yn y Groeg saif y ddau air a gyfieithir "*mewn llawer rhan a llawer modd*" ar ddechreu y llyfr, i bwysleisio mai rhannol ac amherffaith oedd yr hen ddatguddiad mewn gwrthgyferbyniad i'r newydd, ac felly i awgrymu ar unwaith gyfanrwydd ac unoliaeth y newydd.

*Gynt:* Yn yr hen amserau, feallai o Abraham hyd Malachi.

*Wrth y tadau:* sef y genedl Hebreig yn y cyfnodau hynny. Naturiol felly fyddai casglu mai Hebreaid oedd yr awdwr a'i ddarllenwyr; ond nid yw hynny yn dilyn o anghenraid, oblegyd ystyriai Cristionogion y ganrif gyntaf eu hunain oll yn etifeddion ysprydol yr eglwys Iddewig (Rhuf. 9[6] 15[8] 1 Cor. 10[1]).

wrthym ni yn *ei* Fab ;

---

*Trwy y proffwydi :* Ynddynt a thrwyddynt. Cynhyrfwyd hwy gan Yspryd Duw fel y llefarent drosto. Mynegi meddwl Duw, ac nid rhag-ddywedyd digwyddiadau, oedd prif waith proffwyd. Golygir yma wrth "broffwydi" bawb a fuont o dan yr HD yn gyfryngau datguddiad, megis Abraham (Gen. 20[7]), Moses (Dt. 34[10]), Aaron (Ex. 7[1]), a Dafydd (Act. 2[30]). Cyfrifai yr Iddewon y llyfrau hanesyddol, Joshua, Barn., Samuel a Bren. yn nosbarth y proffwydi, yn ogystal ag Es., Jer., Ezek. a'r deuddeg proffwydi byrion.

*Yn y ddydiau diweddaf hyn :* Cywirach, **Yn niwedd y dyddiau hyn.** Arferai'r Iddewon a'r Cristionogion yn y ganrif gyntaf rannu amser i ddau brif gyfnod, "yr oes hon," neu'r "dyddiau hyn," a'r "oes a ddaw (6[5]), neu'r "byd a ddaw" (2[6]). Dosrennid y cyfnod cyntaf drachefn i'r "dyddiau gynt," "yr hen amseroedd," a'r "dyddiau diweddaf," neu "ddiwedd y dyddiau." Yn niwedd y cyfnod presennol, "yr oes hon," y disgwylid oes y Messiah (Es. 2[2] Hos. 3[5]), er fod amrywiaeth barn hefyd pa un ai i ddiwedd y cyfnod cyntaf neu i ddechreu yr ail y perthynai, neu gallai fod yn gyfnod trawsnewidiol rhwng y ddau. Yma gosodir amser Crist yn niwedd y cyfnod cyntaf (cf. Marc 1[15] Gal. 4[4] Eph. 1[10]). Tybiai ysgrifenwyr y TN yn gyffredin eu bod yn byw yn niwedd cyfnod cyntaf y byd, a bod oes newydd ar wawrio gydag ail-ddyfodiad Crist, yr hyn a gredent oedd yn ymyl (1 Thes. 4[16-17] Iago 5[3] 1 Pedr 1[20] 2 Pedr 3[3] 1 Tim. 4[1] 2 Tim. 3[1] Judas 18, 1 Ioan 2[18] Act 1[17]).

*Yn ei Fab :* Cywirach, **Mewn Mab.** Nid yw'r fanod yn y Groeg. Yn y fan hon nid desgrifio person y datguddiwr sydd mewn golwg, ond dangos ei natur a'i gymhwysderau, nid "Pwy ydyw ?" ond "Pa fath un ydyw ?" **Mab** ydyw ac nid proffwyd ; un felly a ŵyr feddwl Duw, ac a all ddatguddio ei natur (Mt. 11[27] Ioan 1[18] 14[6]). Eto yr oedd eraill yn "feibion Duw," ac am hynny â yr awdwr yn ei flaen i ddadlenni arbenig-

2 Yr hwn a wnaeth efe yn etifedd pob peth, trwy yr hwn hefyd y gwnaeth efe y bydoedd:

---

rwydd mabolaeth Crist, yr hyn oedd yn ei gymhwyso i fod yn ddatguddiwr.

2. *Yr hwn a wnaeth efe;* **Osododd**—*appointed* (C.S.) Swydd a safle, ac nid bodolaeth y Mab, sydd yn y cwestiwn. Ni olygir fod Duw wedi dwyn y Mab i fodolaeth. Nid yw He mor ddiamwys a Ioan ($1^{1}$) a Paul (Phil. $2^{6}$ Col. $1^{17}$) ar gwestiwn rhag-hanfodiad tragwyddol Crist, ond y mae'r berthynas hanfodol rhwng Crist a Duw a ddysgir yn adn. 3 yn sicr yn rhagdybied rhaghanfodaeth Crist ($1^{8}$ $3^{3}$ $7^{3}$ $13^{8}$. Gwel Adnodiad D).

*Yn etifedd pob peth:* Naturiol yw i'r Mab fod yn etifedd. Golyga fod pob peth, yr holl gread, gan gynnwys dynion ac angylion, mewn bwriad ac addewid, yn eiddo'r Mab ac o dan ei lywodraeth, eithr nid yw'r etifeddiaeth wedi ei sylweddoli eto ond mewn delfryd yn unig ($2^{8}$). Bu cryn ddadleu gan esbonwyr am y pryd yr apwyntiwyd y Mab yn etifedd pob peth, pa un ai yn y cyngor bore, neu pan grewyd y byd, neu o dan yr HD (Salm $2^{8}$), neu ar ei ymgnawdoliad, neu eto ar ei esgyniad; ond nid yw yn briodol dwyn cwestiwn o amser i fewn i berthynas y Tad â'r Mab, nac i'r berthynas a osododd y Tad rhwng y Mab a'r cread. Gweithred dragwyddol ydyw y tuhwnt i delerau amser. Golyga (1) ddibynniaeth y Mab ar y Tad, ac (2) uchafiaeth y Mab ar bob peth creadigol (cf. Marc $12^{1-12}$), nid yn unig fod y Mab yn berchen ac yn Arglwydd ar y cyfanfyd, ond mai er ei fwyn ef y crewyd pob peth. Efe oedd nôd neu achos terfynol creu'r byd. Y mae'r amcan o flaen y weithred a'i cyflawna. Dyna paham y gwnaed ef yn etifedd pob peth yn gyntaf, ac wedi hynny, *hefyd*, y crewyd y byd trwyddo.

*Trwy yr hwn hefyd y gwnaeth efe y bydoedd;* Y Mab yw cyfrwng effeithiol a gweithredydd personol y creu (Ioan $1^{3}$ Col. $1^{16}$ 1 Cor. $8^{6}$). Y gair *aiônau*, a gyfieithir

3 Yr hwn, *ac* efe yn ddisgleirdeb *ei* ogoniant *ef*, ac yn wir lun ei

---

yma "*y bydoedd*," a gyfieithir yn fwy aml ac yn fwy llythyrennol, "*yr oesoedd*," a golyga yma yr oesoedd a'u cynnwys, neu y byd yng nghwrs ei ddatblygiad a'i hanes. Y mae'r frawddeg yn hollol gyson âg athrawiaeth datblygiad, ac yn ei hawgrymu. O safbwynt amser, cwrs o ddatblygiad yw'r cread, ond o safbwynt Duw un weithred dragwyddol yw. Y mae'r "*bydoedd*" yn gyfartal i "*bob peth*" y frawddeg flaenorol.

3. *Yr hwn* [*ac*] *efe yn ddisgleirdeb ei ogoniant ef*: *Gogoniant* yw un o'r geiriau yn yr HD am gyflawnder natur, priodoleddau a pherffeithrwydd Duw, fel y gwelai dyn hwynt (Ex. 33[18-19]). Deillia'r syniad yn wreiddiol o ddisgleirdeb naturiol fel eiddo'r haul (Act. 22[11]), neu'r cwmwl tanllyd a alwai'r Iddewon yn Shekinah (Ex. 24[16,17] 40[34]). Ond fel y daeth y syniad am Dduw yn fwy ysprydol, daeth ei ogoniant i olygu ei burdeb, ei santeiddrwydd, ei fawredd a'i ddaioni (2 Cor. 4[6] 2 Pedr 1[17]). Ffigyr gyffelyb ddefnyddir gan Ioan, lle y dywed mai "goleuni yw Duw" (1 Ioan 1[5]).

*Disgleirdeb*, cyfieithad o air Groeg na cheir yn unlle arall yn y TN, ond a ddefnyddir amryw weithiau gan Philo, ac unwaith yn Doeth. Sol. 7[26]. Gall y gair ynddo'i hunan olygu un ai **adlewyrchiad** (*reflection*), neu **lewyrchiad allan** (*effulgence*, C.S.D.). Yn ol yr ystyr gyntaf, llewyrchai gogoniant Duw yn y Mab yn ol ato'i hunan; gall y drychfeddwl fod yn ddigon gwir, ond nid dyna fwriadai'r awdwr yn y fan hon. Y meddwl yn hytrach yw, fod y Mab fel ffrwd o oleuni wedi llifo allan o Dduw, ac yn aros mwyach yn golofn o oleuni i'r byd, ac ynddo ef yn unig y gwel dynion ogoniant Duw. Cyflea (1) fod y Mab o Dduw o ran ei hanfod, (2) ei fod yn bodoli ar wahan o ran ei berson, ac (3) mai ynddo ef yn unig y mae gogoniant Duw yn ddatguddiedig, a'r pwynt olaf yw prif ergyd y frawddeg.

*Ac yn wir lun ei berson ef*: Cyfieithad anghywir yw *person*, oblegyd na ddaeth y gair Groeg a gyfieithir i

berson ef, ac yn cynnal pob peth trwy air ei nerth, wedi puro ein

---

olygu "person" hyd y bedwaredd ganrif OC, a bu am ganrifoedd wedi hynny cyn datblygu i'w ystyr bresennol o hunan-ymwybyddiaeth. Defnyddid y gair gan y tadau Groegaidd am sylwedd neu hanfod Duw, ac hefyd am sylwedd gwahaniaethol y Mab, ond pan gyfyngwyd y gair i'r ystyr olaf yn y bedwaredd ganrif, daeth i gael ei ystyried yn gyfystyr â'r gair Lladin, *persona*, yr hwn drachefn a olygai agwedd arbennig ar ryw fod neu hanfod. Felly y daethpwyd i ddweyd "Tri pherson mewn un hanfod." Ond nid oedd athrawiaeth y Drindod fel y datblygwyd hi yn y bedwaredd ganrif ym meddwl awdwr He o gwbl, a rhwystr i'w ddeall yw dwyn yr athrawiaeth a'i thermau i fewn. Yr ystyr yma yw **sylwedd** (*substance*, C.S.D.), sef yr hanfod ddwyfol sydd yn gorwedd odditan ac o'r tu ol i bob ymddangosiad a datguddiad.

*Gwir lun* sydd rydd-gyfieithad o'r gair Groeg *charaktêr*, sef yr **argraff** a wna sêl ar gŵyr (cf. *characters of the alphabet*=llythyrennau). Geilw Philo yspryd dyn yn argraff gallu Duw, a'r gair tragwyddol yn argraff sêl Duw. Dwg y Mab gymaint o nodau gwahaniaethol a mynegiadol sylwedd Duw, a chyflea hwynt i ddynion, fel y gallant ynddo ef ddarllen a gwybod beth yw sylwedd Duw. Awgryma'r gair "llun" neu "ddelw" ddarlun cyflawn, ond y gair "argraff" yn unig yr hyn ellir fynegi a'i ddarllen. Golyga fod yr oll a ellir wybod am Dduw i'w weled yn Iesu Grist, ond fod llawer mwy o'r golwg. Sylwer fod y geiriau "disgleiriad," "argraff" a "delw" yn dal yr un berthynas â'r llygad ag a ddeil y "Gair" â'r glust. Ffigyrau datguddiad ydynt oll.

*Ac yn cynnal:* Dynoda'r *ac* ddibynniaeth y frawddeg hon ar y rhai blaenorol, a deilliad gwaith y Mab o'i natur. Am ei fod yr hyn ydyw, y mae efe nid yn unig wedi creu'r byd ar y dechreu, ond yn ei gadw mewn bodolaeth a threfn, ac yn llywio ei ddatblygiad. Geilw

pechodau ni trwyddo ef ei hun, a eisteddodd ar ddeheulaw y

---

Philo'r Gair yn rhwymyn a llywiwr y cread. Ceir yr un egwyddor, er mai ffurf wahanol sydd i'r syniad, yng ngeiriau Paul, "Ynddo ef y mae pob peth yn cyd-sefyll" (Col. $1^{17}$).

*Pob peth.* Gyda'r fanod yn y Groeg, sef pobpeth fel cyfanswm neu gyfanfyd organaidd.

*Trwy air ei nerth:* Y gair Groeg *rhêma* ac nid *logos* sydd yma am "air." Y gwahaniaeth yw fod *logos* (Ioan $1^{1}$) yn golygu y rheswm mewnol yn ogystal a'i fynegiad, ond *rhêma* y mynegiad yn unig. Rhydd efe allan ei nerth fel yr ynganai air, ac felly ceidw'r byd i fynd.

Nerth pwy? Gall y frawddeg olygu eiddo'r Tad neu'r Mab, ac ymranna esbonwyr rhwng y ddwy farn. Er fod y rhagenw yn y brawddegau blaenorol yn cyfeirio at y Tad, mwy naturiol yngwyneb y gosodiadau blaenorol yw son yn awr am nerth y Mab yn dal y cread.

*Wedi puro ein pechodau ni:* **Wedi gwneuthur puredigaeth pechodau:** Nid yw y rhagenw *ni* na'r frawddeg *trwyddo ef ei hun* yn y llawysgrifau goreu, ond y mae awgrym o feddwl y frawddeg olaf ym *modd* y ferf yn y Groeg. Y mae i *amser* y ferf "wedi gwneuthur" hefyd ei ystyr. Yn y brawddegau blaenorol, lle y dynodir natur y Mab, a'i berthynas â'r byd, y mae yr amser yn anorffennol a pharhaol, ond yma ceir yr amser amhenodol gorffennol (*aorist*) yn dynodi fod y weithred wedi ei chyflawni oll ar unwaith ($9^{12,}$ $10^{11\text{-}12}$). Ffigyr yw'r *puro* wedi ei chymeryd o seremoniau puredigol y ddeddf o daenellu â gwaed a golchi â dwfr. (Marc $1^{44}$ Luc $2^{22}$ $5^{14}$ Ioan $2^{6}$ $3^{25}$). *Puro pechodau* yw eu tynnu ymaith a glanhau'r enaid oddiwrthynt. Yn y frawddeg hon daw yr awdwr i fewn â chyfeiriad at brif bwnc ei lythyr, sef gwaith offeiriadol Crist. Cysyllta'r frawddeg hefyd yn uniongyrchol a'r frawddeg nesaf. Y mae'r gair "*yr hwn*" ar ddechreu'r adnod yn cysylltu'r holl frawddegau dilynol â'r gair "eistedd." Nid yn unig ar gyfrif ei natur

Mawredd yn y goruwch-leoedd ;

---

ddwyfol yr aeth Efe i'w orsedd, ond hefyd ac yn arbennig trwy ei ymostyngiad a'i aberth. Am ei fod wedi gwneuthur puredigaeth y gall y Mab

*Eistedd ar ddeheulaw y Mawredd:* Adgof yw'r frawddeg o Salm $110^{1}$ a ddyfynnir yn adn. 13. Wrth "eistedd" golygir fod y Mab yn cymeryd ei safle o awdurdod ac anrhydedd. Sylwer fod amser amhenodol (*aorist*) y ferf yn dynodi gweithred a gyflawnwyd unwaith am byth. Y mae yn nodweddiadol o gyfundrefn ddelfrydol yr awdwr, fel eiddo Philo a Plato, ei fod yn son am y "puro" a'r "eistedd" fel gweithredoedd wedi eu gorffen, er fod yn amlwg nad yw'r naill na'r llall wedi ei gorffen fel ffaith hanesyddol. Y mae'r saint eto yn "ymdrech yn erbyn pechod" ($12^{4}$) a'r Mab "yn disgwyl hyd oni osoder ei elynion ef yn droedfaingc i'w draed Ef" ($10^{13}$). Yn y byd delfrydol, yr hwn hefyd yw byd y sylweddau tragwyddol, y mae bwriadau'r Tad a gwaith y Mab wedi eu cyflawni, er eu bod yng nghwrs eu cyflawniad ym myd profiad ac hanes dyn.

*Ar ddeheulaw;* Safle ac anrhydedd a ddynodir, ac nid lle. Nodwedd berthynol i'r byd hwn, lle y mae yspryd ynglyn wrth gorff, yw lle; ond ni fedrwn ni ffurfio syniad yn awr am y byd ysprydol heb gysylltu âg ef i ryw raddau delerau lle ac amser. Yn ol arfer y dwyrain "deheulaw'r brenin oedd lle gallu ac anrhydedd; y gweinidog a osodid yno oedd cyfrwng awdurdod a chyfiawnder y brenin, ffynhonell ei drugaredd, a'r canolwr rhyngddo ef a'i bobl" (Rendall).

*Y Mawredd:* Duw yn ei fawredd brenhinol (Dt. $32^{8}$ He $8^{1}$ Judas 25). Ni esyd He y Mab yn ogyfuwch â Duw, ond wrth ei ochr, ac felly islaw iddo, ond uwchlaw pawb a phob peth arall (gwel Ioan $14^{28}$).

*Y goruwch-leoedd*: lle eisteddiad y Mab: brawddeg ychwanegol i bwysleisio uchelder ac anrhydedd ei safle ysprydol (cf. Salm $93^{4}$). Ceir yr un syniad, er nad yr un gair, yn Luc $2^{14}$ Mt. $21^{9}$ Eph. $1^{3,20}$ $2^{6}$ $3^{10}$ $6^{12}$.

4 Wedi *ei* wneuthur o hynny yn well na'r angelion, o gymmaint

---

Mewn ad-drem ar adn. 2 a 3, gwelir yn awr paham y mae Mab o'r fath ag yw Iesu Grist yn gyfrwng datguddiad terfynol Duw: (1) Y mae o hanfod Duw, ac felly yn gwybod ei feddwl, ac yn abl a chymwys i ddatguddio ei natur. (2) Efe yw crewr, llywodraethwr, deddf ac amcan y byd, ac am hynny gŵyr beth sydd ar y byd eisiau ei wybod, a'r ffordd oreu i gyfleu iddo'r wybodaeth. (3) Yn ei ymostyngiad a'i aberth, symudodd y rhwystr mwyaf oedd ar ffordd dynion i ddod i wybodaeth o Dduw, sef pechod. (4) Y mae wedi gorffen ei waith a chymeryd ei safle yn ymyl gorsedd Duw, ac felly yn meddu'r gallu a'r awdurdod i sylweddoli'r datguddiad ym mhrofiadau dynion.

### ii. **Rhagoriaeth y Mab ar yr angylion.** I.$^{4-14}$

#### (1) *Am ei fod yn Fab.* $1^{4-6}$

Cymherir Crist â'r angylion (1) ar gyfrif y gred oedd yn gyffredin ymhlith Iddewon a Christionogion, fod yr angylion wedi bod yn gyfryngau datguddiad yr HD (He $2^2$ Gal. $3^9$ Act. $7^{53}$ cf. Dt. $32^2$ LXX); ac (2) am fod tuedd wedi ymddangos yn yr eglwys Gristionogol i ddangos parch anghymesur, yn ymylu ar addoliad, i'r angylion (Col. $2^{18}$ Dat. $19^{10}$ Eph. $3^{10}$ ac feallai yr "achau" yn 1 Tim. $1^4$ Tit. $3^9$). Yng nghyfundrefn y Gnosticiaid, datblygodd y duedd hon yn athrawiaeth am resau o angylion a osodid rhwng Duw a'r byd, yn gyfryngau creadigaeth, datguddiad ac iachawdwriaeth; a mynnodd yr athrawiaeth le yn yr eglwys Gatholig yn yr addoliad a roddir i seintiau ac angylion.

4. *Wedi ei wneuthur*: **wedi dyfod** trwy ei aberth a'i esgyniad (adn. 3).

*O hynny*: llyth. **o hynny o gymaint**: cyfatebai graddau ei ragoriaeth i uwchafiaeth ei enw.

*Yn well*: mewn safle, urddas a gallu: ceir y gair Groeg 13 o weithiau yn He, ac ym mhob un o honynt

ag yr etifeddodd efe enw mwy rhagorol na hwynt-hwy.

---

am ragoriaeth mewn gwerth neu urddas neu fawredd, ac nid mewn ystyr foesol (7[7,19,22] 8[6] 9[23] 10[34] 11[16,35,40] 12[29]). Ceir yr ystyr foesol gan Paul (1 Cor. 7[9,38] 9[17]). Dysgai Philo a'r Rabbiniaid Iddewig hefyd fod y Messiah yn rhagori ar yr angylion.

*Etifeddodd Efe* : dynoda amser y ferf (*perfect tense*) ei fod wedi derbyn yr enw yn y gorffennol, ac yn parhau i'w ddal hyd yn awr.

*Enw mwy rhagorol* : llyth. **mwy gwahaniaethol** : braidd na ellid cyfieithu "mwy urddasol" (*a more distinguished name*). Meddylddrych pwysig gan yr Iddewon oedd "enw." Yn yr HD golyga yn aml holl berson datguddiedig Jehofah (Ex. 6[3]). Ac yn y TN saif enw Duw am Dduw ei hunan (Mt. 6[9] He 13[15] Dat. 11[18]). Yn gyffelyb defnyddir enw'r Iesu am ei berson yn ei berthynas â dynion (Act. 4[12] 8[19] Phil. 2[9,10]). Dengys yr adnodau dilynol mai yr enw Mab a olygir yma. Nid yw yn rheswm digonol yn erbyn y syniad hwn y gelwir yr angylion hefyd yn feibion Duw yn yr HD, oblegyd ceir gweled yn adn. 5 na chydnabyddai yr awdwr hynny. Y cwestiwn anawdd yn y fan hon yw, pa bryd y cafodd Efe yr enw Mab ? Y mae yn eglur oddiwrth adn. 1 a 2 fod yr awdwr yn ei gyfrif yn Fab yn ei hanfod, ac eto yn y fan hon, daw i feddiant o'i enw mabol trwy ei aberth a'i esgyniad. Nid yw dweyd mai yn yr HD y rhoddwyd yr enw iddo yn symud yr anhawster, oblegyd yr oedd yn Fab yn ei hanfod cyn hynny, a daw i'w fabolaeth etifeddol wedi hynny. Dyfynna'r awdwr yr adnodau dilynol o'r HD fel proffwydoliaethau. Nis gellir ychwaith gwahanu y Mab yn ei hanfod dragwyddol oddiwrth y Mab fel Duw-ddyn yn ei ymgnawdoliad. Nid yw'r awdwr byth yn gwneud hynny. Yn hytrach rhaid cymeryd i'r cyfrif eto y ddeuoliaeth Blatonaidd rhwng y byd delfrydol a'r byd hanesyddol sydd yn rhedeg trwy yr holl lythyr. Yn y byd delfrydol yr oedd Efe yn Fab erioed yn ei hanfod dragwyddol, ond ym myd

5 Canys wrth bwy o'r angelion y dywedodd efe un amser, Fy

---

profiad ac hanes dynion, dod yn Fab a wnaeth Efe trwy ei aberth, ac aeth i fewn i etifeddiaeth lawn ei enw yn ei esgyniad i ddeheulaw'r Mawredd. A chofier mai nid byd mewn dychymyg neu syniad oedd y byd delfrydol, ond i'r awdwr a'r ysgol y perthynai iddi, hwn oedd y byd gwir sylweddol. (Gwel t. 11 ac Adnodiad E).

5. *Canys wrth bwy o'r angelion, &c.* Ceir y frawddeg "meibion Duw" yn yr HD (Job $1^{6}$ $2^{1}$ $38^{7}$ Gen. $6^{2\text{-}4}$ Salm. $29^{1}$ $82^{6}$ $89^{6}$), ac yn Dan. $3^{25}$ gosodir y frawddeg "tebyg i Fab Duw" yng ngenau pagan, a dywedir yn $3^{28}$ mai angel a olygir. Yn y mannau eraill i gyd rhoddir yr enw ar ddosbarthiadau o fodau, ac nid ar un person. Yn yr LXX., yr hwn a ddefnyddiai'r awdwr, ni cheir y frawddeg "meibion Duw," ond yn hytrach "angylion Duw" yn Job, a'r un fath yn Gen. a Dan. yn llawysgrif Alecsandria. Gallai yr awdwr yn hawdd ddeall fod y frawddeg yn y Salmau yn cyfeirio at ddynion. Fodd bynnag, y mae gwahaniaeth mawr rhwng ystyr y frawddeg yn yr HD a syniad yr awdwr am y Mab.

*Y dywedodd efe.* Pwy? Duw neu yr Ysgrythyr; yr un yw yr ystyr gan nad pa un olygir, oblegyd credai yr awdwr yn nwyfol awduraeth yr HD. Sylwer ar y gwahaniaeth rhwng He a Paul yn dwyn dyfynniad i fewn. Yn He ceir "dywed Ef," sef Duw ($4^{3}$ $5^{5,6}$) neu "dywed yr Yspryd Glan" ($3^{7}$), yn Paul fel rheol ceir "ysgrifenwyd" (Rhuf. $3^{4,10}$ $8^{36}$). Gwna Paul fwy o gyfrif o'r awdwr dynol.

*Fy Mab ydwyt ti, &c.* Salm $2^{7}$ cf. Marc $1^{12}$ $9^{2\text{-}8}$ Act. $13^{33}$ Rhuf. $1^{4}$ He $5^{5}$.

*Myfi a fyddaf iddo ef yn Dad, &c.* 2 Sam. $7^{14}$= 1 Chron. $17^{13}$ $22^{10}$ cf. Salm $89^{27\text{-}29}$ $132^{11\text{-}12}$. Cymerwyd yr ail ddyfynniad o eiriau Nathan wrth Dafydd, yn sicrhau iddo y cai ei hiliogaeth deyrnasu ar orsedd Israel ar ei ol ef am byth. Adlais o'r geiriau hyn yw y dyfynniad cyntaf, ond y mae'r addewid yn eangach. Caiff hiliog-

mab ydwyt ti; myfi heddyw a'th genhedlais di? A thrachefn,

---

aeth Dafydd deyrnasu yn Jerusalem, nid yn unig ar Israel, ond ar deyrnas gyfled a'r ddaear (cf. Salm 2[8]). Breuddwydiwyd am deyrnas fyd-eang yn gyntaf gan frenhinoedd Assyria, Babylonia a'r Aifft, a chan Alecsander Fawr, a mabwysiada'r Salmydd y syniad fel rhan o ddelfryd teyrnas y Messiah. Eglur yw mai meddwl yr oedd Nathan am Solomon a'i olynwyr uniongyrchol, ond nid yw yr un mor eglur a oedd unrhyw frenin hanesyddol yng ngolwg y Salmydd, ai ynte Messiah addewid y dyfodol yn unig oedd yn ei feddwl. Ni chyflawnwyd y naill broffwydoliaeth na'r llall yn hanes hiliogaeth Dafydd ar orsedd Jerusalem. Yr oedd rhai o'r proffwydi wedi sylweddoli fod yn rhaid edrych y tuhwnt i lythyren y broffwydoliaeth, a thuhwnt i hanes Israel am gyflawniad addewid 2 Sam. 7[14] (Es. 9[6-7] 11[1] &c. Jer. 23[5]) a lled debyg fod yr un peth yn wir am Salm 2. Y syniad mwy llythyrennol am deyrnas ddaearol yn Jerusalem oedd o hyd ym meddwl yr Iddewon, ond datguddiodd yr Iesu ystyr uwch yr addewid pan fabwysiadodd hi fel proffwydoliaeth am ei deyrnas ei hunan (Mt. 16[16,17]). Gwelai Paul gyflawniad yr addewid yn adgyfodiad Crist (Act 13[33] Rhuf. 1[4]), a He yn ei eisteddiad ar ddeheulaw'r Mawredd.

*Mab.* Feallai fod yn yr HD rai olion o'r hen syniad paganaidd fod i'r duwiau blant naturiol fel i ddynion (Gen. 6[1] &c.), ond fel rheol defnyddir y term "Mab Duw" yn yr HD am berthynas foesol â Duw yn unig. Yn yr ystyr hon y gelwir Israel yn "fab Duw" (Ex. 4[22] Hos. 11[1] Jer. 31[9]). Yn 2 Sam. 7[14] golyga awdurdod ac amddiffyniad Duw fel Tad, ac ufudd-dod brenin Israel fel mab. Golyga hyn oll hefyd yn Salm 2, ac ychwaneg, oblegyd y mae ffafr Duw i'r brenin yn fwy, ac nid oes awgrym o bosibilrwydd anufudd-dod o du'r brenin. Nis gelwir y Messiah yn Fab Duw yn unlle arall yn yr HD, ac er y priodolir iddo swyddau a nodweddion uwch-ddynol, byddai'r syniad o'i ddeilliad hanfodol o Dduw, a'i undeb naturiol âg ef, yn hollol ddieithr i ysgrifenwyr yr

Myfi a fyddaf iddo ef yn Dad, ac efe a fydd i mi yn Fab ?
6 A thrachefn, pan yw yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd, y mae

---

HD; diau yr ystyrient y fath syniad yn un paganaidd. Mabwysiada He y dyfynniad, a defnyddia y teitl am Grist yn yr ystyr a eglurwyd ar adn. 4, ac yn ol ei athrawiaeth arbennig am berthynas hanfodol y Mab â Duw, a honno yn cael ei sylweddoli yng nghwrs hanes yn ei eisteddiad ar ddeheulaw y Mawredd. (Gwel Adnodiad D).

*Heddyw a'th genhedlais.* Yn Salm 2, naill ai dydd genedigaeth, neu, yn fwy tebygol, dydd coroniad y brenin a olygir. Byddai'r "cenhedliad tragwyddol" yn syniad hollol ddieithr i'r HD, ac er ei fod yn bosibl yn He, golyga yn hytrach yr hyn a nodir uchod ac ar adn. 4.

6. *A thrachefn pan yw yn dwyn y cyntaf-anedig i'r byd.* **A phan ddwg efe drachefn y cyntaf-anedig i fewn i'r byd** (Gwel ymyl y ddalen a'r C.S.D.) Lleolir y gair *drachefn* yn y Groeg o fewn y frawddeg, ac ynglyn â'r ferf, ac nid fel y mae yn adn. 5, ac yn y Cyf. Cym. yn y fan hon, yn gysylltiad rhwng dwy frawddeg. Gwahaniaetha ysgolheigion yn eu barn ai cyfreithlon ai peidio yw cyfieithu fel y gwna'r Cyf. Cym. Mae'n sicr mai'r cyfieithad uchod (yn ol y C.S.D. ac ymyl y ddalen) yw'r mwyaf cydwedd â gramadeg y frawddeg. Ond cwyd yr anhawster fod y frawddeg felly, fe dybir, yn son am ddwyn y Mab i'r byd yr *ail waith*, pan na soniwyd am ddygiad i mewn blaenorol. Ond cyfeiria ffurf ramadegol y ferf *dwg i fewn* at weithred yn y dyfodol a ystyrrir fel pe wedi ei gorffen mewn amser amhenodol (Westcott). Defnyddir y ferf yn aml yn yr LXX. am ddwyn Israel i fewn i'w hetifeddiaeth yng Nghanaan, a gall yma olygu "dwyn y Mab i'w etifeddiaeth i'w meddiannu." Pe derbynid y Cyf. Cym. a chymeryd yr adnod ar ei phen ei hun, naturiol fyddai deall mai at yr ymgnawdoliad y cyfeiria. Dyna esboniad rhai er derbyn y C.S.D. gan gyfrif y cenhedliad tragwyddol, neu greadigaeth y byd, fel y dygiad cyntaf i fewn. Fe ellir derbyn y C.S.D.

yn dywedyd, Ac addoled holl angelion Duw ef.

---

heb gyfrif dau ddygiad i fewn, a chymeryd "drachefn" fel cysylltiad dwy weithred o eiddo'r Tad, sef cyfarch y Mab a'i ddwyn i fewn i'r byd. Ond y mae cysylltiad yr adnod â'r rhai blaenorol yn erbyn golygu mai'r ymgnawdoliad yw'r dwyn i fewn hwn. Dilyna'r "etifeddu" a'r "cyfarch" yn adnod 4 a 5, yr "eistedd ar ddeheulaw'r Mawredd" yn adn. 3, a dylai'r dwyn i fewn yn adn. 6 ddilyn yr oll, a'r ystyr naturiol felly yw ail-ddyfodiad Crist. I'r oes apostolaidd yr oedd honno yn ffaith agos a phwysig iawn. Ategir yr esboniad hwn hefyd gan yr ystyriaeth o gysylltiadau gwreiddiol y dyfynniad.

"*Ac addoled holl angelion Duw ef.*" Ceir y geiriau yn Dt. $32^{43}$ LXX., ond nid ydynt yn yr Hebraeg. Yn Salm $97^{7}$ LXX ceir y geiriau "addolwch ef ei holl angelion" (Hebraeg: "yr holl dduwiau"). Yn y naill fan a'r llall darlunia'r cysylltiadau ddyfodiad Jehofah yn ei deyrnas i farnu ei elynion; ac yn y TN cymer ail-ddyfodiad Crist le dydd dyfodiad Jehofah i farn yn yr HD (cymharer Act $2^{20}$ â Joel $2^{31}$, 2 Pedr $3^{10}$ ag Es. $34^{4}$ Mt. $24^{29}$ ag Es. $13^{10}$). Peth cyffredin gan ysgrifenwyr y TN yw cymhwyso at Iesu Grist adnodau a gyfeirient yn wreiddiol at Jehofah (He $1^{10}$ 1 Cor. $1^{31}$ Iago $5^{7,10}$ 1 Pedr $1^{25}$ 2 Pedr $3^{8}$). Ofer holi yn awr a oedd y frawddeg a ddyfynnir o Dt. $32^{43}$ yn yr Hebraeg ai peidio, oblegyd yr oedd yr LXX. i'r awdwr hwn yn ysgrythyr santaidd o awdurdod ddwyfol.

*Cyntaf-anedig*: Felly y gelwir Israel yn Ex. $4^{22}$ a Jer. $3^{19}$, a brenin Israel yn Salm $89^{27}$. Galwai'r Rabbiniaid y Messiah yn Gyntaf-anedig, a cheir y syniad yn Philo am y Gair. Defnyddir y term am Iesu Grist (1) yn llyth. fel plentyn hynaf Mair (Mt. $1^{25}$ Luc $2^{7}$); (2) yn ei berthynas â dynion (Rhuf. $8^{29}$ Col. $1^{18}$ Dat. $1^{5}$); ac (3) yn ei berthynas â'r cread (Col. $1^{15}$). Dynoda'r ffafr, y safle a'r awdurdod a berthyn i'r etifedd yn y teulu.

*Y byd* cyfaneddol, preswylfod dynion ac angylion.

7 Ac am yr angelion y mae yn dywedyd, Yr hwn sydd yn

---

*Addoled*: Nid oedd yn bosibl cael prawf eglurach o ragoriaeth Crist ar yr angylion na'u bod hwy i'w addoli Ef. Rhag-dybir yn ddiau ddwyfoldeb Crist, neu nis gallasai dderbyn addoliad, ond pwnc yr awdwr yn y fan hon yw fod yr angylion yn is-raddol iddo.

(2) *Tragwyddol barhad y Mab.* 1[7-14]

7. *Yr hwn sydd yn gwneuthur ei angelion yn ysprydion*: Yn hytrach **yn wyntoedd.** Yr un gair Groeg a gyfieithir yn "yspryd" a "gwynt," ond y mae'r cysylltiadau a chyfatebiaeth â'r geiriau "*fflam dân*" yn y llinell nesaf yn golygu cyfieithu "yn wyntoedd."

*Gweinidogion*: Swyddogion cyhoeddus fel eiddo'r llywodraeth. Nid yn unig mewn safle, ond mewn swydd a natur hefyd y mae yr angylion yn is-raddol. Golyga'r adn. (1) mai gweini yw eu swydd; (2) eu bod yn perthyn i'r byd crëedig; (3) fod eu natur yn ddarfodedig a chyfnewidiol. Nid dweyd y mae eu bod yn debyg i wynt a thân, nac o'r tu arall, mai gwynt a thân yn unig ydynt; nid materolwr mo'r awdwr. Golyga fod Duw yn newid yr angylion o ffurf i ffurf, a'u bod ar brydiau yn myned i'w negesau Ef fel gwyntoedd a fflamau tân. Peth hawdd gan yr hen fyd oedd personoli galluoedd natur. Tybid gan lawer fod y ser yn fodau byw fel angylion. Am gyfuniad gwynt, tân, bywyd ac yspryd, cymharer Cerubiaid Ezekiel, pen. 1 a 10. Mabwysiadu y mae'r awdwr syniad o eiddo Philo, ond gyda chryn wahaniaeth. Dysgai Philo fod, heblaw yr un Gair tragwyddol oedd yn ddeddf ac egwyddor pobpeth, aneirif Eiriau (*logoi*) mân, megis darnau o'r Gair, oeddynt yn ddeddfau ac egwyddorion gwahanol elfennau natur, a galwai hwynt yn angylion. Felly yn He, meddylir am yr angylion fel personau o fewn elfennau natur, ond ni chyfunir hwynt o ran natur â'r Gair, fel y gwnai Philo; y mae Ef yn dragwyddol ac anghyfnewidiol, a hwythau yn grëedig a chyfnewidiol. Yr oedd y syniad

gwneuthur ei angelion yn ysprydion a'i weinidogion yn fflam dân.

8 Ond wrth y Mab, Dy orsedd-faingc di, o Dduw, *sydd* yn oes oesodd: teyrn-wïalen uniondeb *yw* teyrn-wïalen dy deyrnas di.

---

olaf yn un tra chyffredin ymhlith y Rabbiniaid Iddewig. Er engraifft, dywed un: "Ni chân yr un côr o angylion foliant Duw ddwywaith, oblegyd crea Duw bob dydd luoedd newyddion a ganant ei foliant, ac yna a ddychwelant i'r hylif dân odditan ei orsedd ef, o'r hon y daethant."

Dyfynna'r awdwr yma o Salm 104[4], ac fel arfer o'r LXX. Gwahaniaetha esbonwyr yn eu barnau a yw hwnnw yn gyfieithad cywir o'r Hebraeg ai nad yw. Deil Briggs ac ysgolheigion eraill ei fod, ond cyfieitha'r C.S.D., Cheyne ac eraill fel y canlyn:—

"Yr hwn sydd yn gwneuthur y gwyntoedd
yn genhadon iddo,
Ac yn wasanaethwyr iddo dân fflamllyd."

Parha yr adn. felly i ddesgrifio awdurdod Duw ar natur, fel yn y gweddill o'r Salm, ac heb son ynddi am angylion o gwbl. Gan nad pa un yw yr esboniad cywir o'r Salm, ni wna wahaniaeth i esboniad yr adn. yn He, oblegyd cymer yr awdwr ystyr yr LXX. heb wybod dim am yr Hebraeg.

**8-12.** Mewn gwrth-gyferbyniad i'r angylion (1) teyrnasu wna'r Mab, ac nid gweini; (2) creawdwr yw Efe, ac nid creadur; (3) y mae ei hanfod yn dragwyddol ac anghyfnewidiol, tra y mae y cread i'r hwn y perthyn yr angylion yn gyfnewidiol a darfodedig.

Dyfynnir adn. 8 a 9 o Salm 45[6-7]. Yn lle "*teyrnwialen uniondeb* [*yw*] *teyrnwialen dy deyrnas di*," rhydd y llawysgrifau hynaf "**teyrnwialen dy deyrnas di** [neu **ef**] **yw teyrnwialen uniondeb.**" Felly'r C.S.D. Y Mab, gan hynny, yw ffynhonell uniondeb ymhob man, ac nid yn unig yn ei deyrnas ei hunan.

*Eneiniodd*: Cyfeiriad sydd at yr arferiad o eneinio mewn gwleddoedd, ac ar adegau o lawenydd (Salm 23[5]

9 Ti a geraist gyfiawnder, ac a gasêaist anwiredd: am hynny y'th enneiniodd Duw, *sef* dy Dduw di, âg olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillion.

---

Luc 7[46]). Beth yn well allasai bardd y palas ddweyd am wraig newydd y brenin nag mai enaint Duw oedd hi yng ngwledd ei fywyd?

*Cyfeillion*: Cymdeithion, cyfranogion; yn y Salm, y brenhinoedd eraill a ddaethant i wledd priodas y brenin; yn He, yr angylion, fel rhan o'r gymdeithas nefol, ond îs yn ffafr Duw na'r Mab.

Cân oedd Salm 45 i ddathlu priodas rhyw frenin Hebreig neu Iddewig â thywysoges estronol. Ar sail yr adnodau a ddyfynnir, ystyrrid hi yn Salm Fessianaidd, ac esbonid hi yn yr un modd a Chaniad Solomon, am briodas y Messiah â'r eglwys. Amcan He yn dyfynnu'r adnodau hyn yw dangos (1) fod i'r Mab ei orsedd a'i deyrnas, a'r rhai hynny yn dragwyddol, ac (2) fod ffafr ac hyfrydwch Duw wedi eu rhoddi iddo ef y tuhwnt i'r angylion. Mae'n amheus a ddylid pwysleisio natur foesol ei deyrnas mewn gwrth-gyferbyniad i swyddogaeth faterol yr angylion, ar sail y geiriau "teyrnwialen uniondeb," a "Ti a geraist gyfiawnder, &c." Er fod y peth yn wir, prin y mae ar lwybr ymresymiad yr awdwr. Y mae yn dra sicr na olygai'r awdwr gyferbynnu moesoldeb y Mab ag anfoesoldeb yn yr angylion. Dylid cofio nad yw awdwr wrth ddyfynnu bob amser am bwysleisio pob gair yn y dyfynniad. Daw geiriau i fewn yn unig am eu bod ynglyn â geiriau eraill sydd yn gosod allan ei feddwl. Felly, o bosibl, y dylid ystyried y geiriau "Ti a geraist gyfiawnder" yn y fan hon. Yn gyffelyb, dylid edrych ar y cyfarch-nod, "O Dduw." Pwynt uniongyrchol yr awdwr yw profi uchafiaeth Crist ar yr angylion, ac nid profi ei ddwyfoldeb, er yn ddiau na fuasai yn defnyddio y geiriau o gwbl pe y tybiasai hwynt yn anghymwys i ddesgrifio natur y Mab.

Nis gelwir Iesu Grist yn Dduw yn y ffurf ddiamodol hon (*ho theos*, gyda'r fanod—ffurf a gyfyngir i'r Tad) yn unlle arall yn y TN (os na wneir yn Rhuf. 9[5]), ac

efallai na wnaethai He hynny ond mewn dyfynniad; ni wna mewn unlle arall, fodd bynnag.

Ynglyn âg esboniad y frawddeg yn Salm 45, cyfyd anhawster arall, sef, sut y gallai'r Salmydd gyfarch y brenin fel Duw? Dyfeisiwyd llu o atebion: (1) Y gelwir brenhinoedd yn dduwiau yn gyffredin yn yr HD (Salm $82^{1,6}$ cf. Gn. $21^{6}$ $22^{8-9}$). Ond ni chyferchir byth unrhyw un brenin fel Duw. (2) Cyfieithir "dy orsedd di yw Duw," neu "Duw yw dy orsedd di," ond digon annaturiol yw pob cyfieithad ond yr un geir yn y Cyf. Cym. (3) Fod y Salmydd ar hanner ei gân i'r brenin yn troi i gyfarch Duw, megis rhwng cromfachau. (4) Mai ychwanegiad diweddar at y Salm yw adn. 7 a 8, ar ol iddi ddod i gael ei chyfrif yn Salm Fessianaidd. (5) Fod camgymeriad wedi llithro i fewn i'r testyn Hebraeg wrth ei gopïo. Tybiaeth ddigon naturiol, ac un sydd yn symud yr holl anhawster, yw mai ffurf ddyfodol y ferf *bod* safai yn yr Hebraeg gwreiddiol, ac i'r copiwr ei chamgymeryd am "Jehofah," oblegyd ychydig wahaniaeth sydd rhwng y ddwy ffurf; ac y mae yn wybyddus fod y gair "Duw" wedi ei osod yn lle "Jehofah" ar hyd ail lyfr y Salmau. Gadawer y geiriau "O Dduw" allan, ac fe red y gân ymlaen yn ddigon naturiol fel cân briodasol. Wrth reswm, ni theimlai awdwr He ddim o'r anhawster hwn, gan mai cyfeirio at y Messiah, y Mab, yn unig yr oedd y Salm iddo ef.

**10-12.** Dyfynnir adn. 10-12 o Salm $102^{25-27}$ lle y mae rhyw Iddew yn tywallt ei ofid ger bron Jehofah am gaethglud Israel; y mae hi ar drengu dan ddyrnodiau ei gelynion, ond cofia fod Jehofah, creawdwr pob peth, yn aros byth, er heneiddio o'r byd, ac arno Ef y gorffwys ei gobaith am adferiad. Ymddengys fod yr Iddewon wedi dechreu defnyddio y Salm hon am y Messiah cyn dyfod o Grist.

Yr oedd awdwr He wedi priodoli creadigaeth y byd i'r Mab yn ei osodiadau rhagarweiniol (adn. 2), ac nid oedd un anhawster iddo yn awr i fabwysiadu ynglyn âg Ef yr adnodau hyn a lefarwyd yn gyntaf am Jehofah. (Gwel ar adn. 6 ac Adnodiad C).

10 Ac, Tydi yn y dechreuad, Arglwydd, a sylfaenaist y ddaear; a gwaith dy ddwylaw di yw y nefoedd:

---

Yr oedd hefyd wedi gosod yr angylion yn nosbarth y pethau crëedig, cyfnewidiol, a darostyngedig (adn. 7), a phrofa eto uchafiaeth y Mab arnynt trwy ei ddangos Ef fel creawdwr digyfnewid a thragwyddol nef a daear. A phwy allai fod yn awdwr iachawdwriaeth y byd ond ei greawdwr? Dysgai'r Gnosticiaid fod y byd wedi ei greu mor amherffaith, a chan Fod mor anfedrus neu ddrwg, fel y daeth yr angylion i wella ei golliadau Ef, ac un o honynt hwy, yr olaf a'r mwyaf o honynt, oedd Iesu Grist. Feallai fod syniadau o'r fath yn adnabyddus i awdwr He, a'i fod am eu troi yn ol. Edrycha'r Salmydd am ei waredwr yn ei grewr, ac wrth ddyfynnu'r adnodau hyn, dysga He mai creawdwr y byd sydd yn Iesu Grist wedi dod yn waredwr iddo, tra nad yw yr angylion ond gweinidogion ymhlith y pethau a greodd Efe. Diau mai anawdd i ni yw synied am "y dyn Crist Iesu" fel creawdwr y byd, neu am y Duw greodd y byd yn trigo o fewn terfynau person Iesu o Nazareth. Ond pe gallem sylweddoli beth a olygir wrth ddweyd mai ysprydol a moesol yw hanfod Duw a'r byd, byddai yn hawddach synied am yr egwyddorion a sylweddolodd Crist yn ei fywyd, ei aberth a'i esgyniad, fel achosion effeithiol a therfynol y byd, ac fel datguddiad a sylweddoliad hanfod Duw o fewn terfynau amser.] [[Gwel Davidson, t. 50].

**10.** *Tydi*: Er mwyn amlygrwydd a phwyslais symuda'r awdwr y gair hwn o ganol y frawddeg (yn yr LXX,) i'w dechreu.

*Yn y dechreuad*, llyth. **o'r blaen—gynt.**

*Arglwydd*: Ni cheir yn yr Hebraeg, ond y mae yn yr LXX.

*Sylfaenaist*: Tybid fod y ddaear yn gorffwys fel tŷ ar sylfaen.

*Gwaith dy ddwylaw*: **Gweithredoedd.** Ymadrodd ffigyrol a barddonol. Ond mewn cyfnod boreuach

11 Hwynt-hwy a ddarfyddant; ond tydi sydd yn parhau; a hwynt-hwy oll fel dilledyn a heneiddiant;

12 Ac megis gwisg y plygi di hwynt, a hwy a newidir: ond tydi yr un ydwyt, a'th flynyddoedd ni phallant.

---

rhoddasid ei hystyr lythyrennol i'r frawddeg, oblegyd tybid fod i Dduw ffurf fel eiddo dyn, a'i fod yn gweithio â'i ddwylaw fel dyn (Gen. 2[7-8]).

*Y nefoedd*: Y syniad Hebreig oedd fod y ffurfafen neu y nef isaf fel tô estynedig dros y ddaear, a bod amryw nefoedd yn bodoli uwchlaw iddi, ac ynddynt hwy y trigai'r angylion. Gair lliosog yw nefoedd yn Hebraeg a Groeg, yn ogystal ag yng Nghymraeg.

**11.** *Hwynthwy*, sef y nefoedd.

*A ddarfyddant*: Yng nghyfnewidiad mawr dydd diweddaf yr oes bresennol (gwel ar adn. 1, "Y dyddiau diweddaf") a dechreu yr oes newydd, pryd y bydd nefoedd newydd a daear newydd (Es. 51[6] 65[17] 66[22] Mt. 24[35] 2 Pedr 3[13] Dat. 20[11] 21).

**12.** *Gwisg*, neu fantell ddrudfawr. Meddyliai Philo am y byd fel gwisg am y Gair. Gallasai newid ei wisg, ond arhosai Ef yr un am byth. Nid yw yn debyg fod y syniad hwn ym meddwl y Salmydd, ond gall fod yn He.

*Plygi*: Yn yr Hebraeg **newid** geir ddwywaith. Symudir yr hen nefoedd ymaith cyn taenu'r rhai newydd. Cf. Es. 34[4] lle y dywedir y dattodir llu'r nefoedd (yr angylion?) ac y syrthiant fel deilen pan blygir hwynt. Ychwanegir dau air **fel gwisg** neu **ddilledyn** yn y C.S.D. yn ol y llawysgrifau hynaf.

*Tydi, yr un ydwyt*: cf. 13[8] Ioan 8[58] Dat. 1 [8,18].

*Ni phallant*: **Ni bydd diwedd arnynt.**

**13-14.** Yn yr adnodau hyn cyrhaedda'r gwrthgyferbyniad rhwng Crist a'r angylion ei eithafbwynt. Sylweddola a chyflawna'r Mab ei deyrnas mewn goruchafiaeth lwyr ar ei elynion, ond lle uwchaf yr angylion yn y drefn newydd fydd gwasanaethu y rhai a fyddant ddeiliaid teyrnas y Mab.

13 Ond wrth ba un o'r angelion y dywedodd efe un amser, Eistedd ar fy neheulaw, hyd oni osodwyf dy elynion yn droed-faingc i'th draed ?

---

**13.** Dyfynnir o Salm $110^{1}$. Gwneir defnydd helaeth o'r Salm hon eto yn y drafodaeth ar Melchisedec ($5^{6}$ $7^{17,21}$) Dyfynnir o'r adn. hon hefyd yn Mt. $22^{44}$= Marc $12^{36}$=Luc $20^{42}$ Act $2^{34-35}$ 1 Cor. $15^{25}$ 1 Pedr $3^{22}$. Er y gelwid hi yn "Salm Dafydd" yn y teitl, ac mewn canlyniad yn yr efengylau* a'r Actau, y mae yn amheus a gyfansoddwyd hi am lawer canrif ar ol amser Dafydd. Dyddia gwahanol feirniaid hi yn amrywiol o amser Dafydd hyd yr ail ganrif CC. Y mae cyffelyb anhawster i benderfynnu pwy yw'r person y cyfeiria'r Salm ato. Rhywun ydyw y mae Jehofah wedi eu wneud ar unwaith yn llywodraethwr ac yn offeiriad i Israel yn Sïon. Awgryma gwahanol rai mai Dafydd yw (2 Sam. 6), neu un o frenhinoedd Judah cyn y gaethglud, neu Zorobabel (Zech. $6^{9-13}$) neu un o'r Maccabeaid (1 Macc. $14^{27-46}$). Yr olaf yw yr unig rai y gwyddis iddynt yn ffurfiol a llythyrennol lanw'r ddwy swydd o lywodraethwr ac arch-offeiriad yn Jerusalem. Am Simon y Maccabead, yr hwn a lywodraethai yn Jerusalem o gylch 142 CC,

---

* Tybia rhai fod yn rhaid cydnabod Dafydd yn awdwr y Salm hon o leiaf, ar waethaf pob ystyriaethau hanesyddol, oblegyd fod Iesu Grist yn dweyd hynny (Mt. $22^{43}$ Marc $12^{36}$). Ond (1) nid yw yn sicr fod Iesu Grist ei hunan yn derbyn y dybiaeth. Cyflea Ef syniad y Phariseaid am y Salm a'i hesboniad, a gofyna gwestiwn sydd yn dangos fod ei farn Ef yn wahanol am esboniad y Salm, ac o bosibl hefyd am ei hawduraeth. Ond diau mai amcan pennaf ei gwestiwn oedd gwrthdroi'r syniad fod y Messiah yn Fab Dafydd fel y tybiai'r ysgrifenyddion, yn yr ystyr o ddod yn frenin tymhorol ar Israel. (2) A chaniatau fod Iesu Grist yn tybied mai Dafydd oedd awdwr y Salm, nid dod i'r byd i benderfynnu cwestiynau llenyddol ac hanesyddol a wnaeth Efe. Gall dynion chwilio y rhai hynny drostynt eu hunain. Fel datguddiwr y Tad a ffordd iachawdwriaeth yn unig y mae Efe yn awdurdod anffaeledig, ond mewn pethau a berthynent i derfynau a thyfiant meddwl dyn, rhaid oedd iddo Ef wrth ddod, ac er mwyn dod, yn ddyn, dderbyn terfynau meddyliol dynoliaeth yn y lle a'r adeg y daeth Efe yn ddyn. Ymddiosgodd o'i holl-wybodaeth yn ei ymwaghâd. (Mc. $13^{32}$ 2 Cor. $8^{9}$ Phil. $2^{7}$).

14 Onid ysprydion gwasanaethgar ydynt hwy oll, wedi eu danfon

---

dywedir yn arbennig, "A gweled o'r Iddewon yn dda, a'r offeiriaid hefyd, fod Simon yn gapten iddynt ac yn arch-offeiriad hyd byth" (1 Macc. $14^{41}$). Ac ateba Simon ymhob ystyr y desgrifiad yn Salm 110. Un dybiaeth arall yw nad oedd gan y Salmydd mewn golwg un person hanesyddol, ond yn unig Messiah'r addewid. Ac yn yr ystyr hon yn ddiau y defnyddir y Salm yn He.

*Ond wrth ba un*: Cyfieitha'r C.S.D. ac amryw esbonwyr "am ba un," ond gwell yw'r Cyf. Cym., gan olygu "wrth neb ond y Mab."

*Eistedd ar fy neheulaw.* Gwel ar adn. 3.

*Hyd oni osodwyf*: Cyfeiriad at yr arferiad mewn rhyfel i'r gorchfygwr i osod ei droed ar wddf y gorchfygedig (Josh. $10^{24}$). Derbynia y Mab ei awdurdod a'i oruchafiaeth oddiwrth y Tad. (Gwel ar adn. 2 a Mt. $28^{18}$ 1 Cor. $15^{25\text{-}28}$ Eph. $1^{20\text{-}22}$). Goruchafiaeth lwyr y Mab ar bob gwrthwynebydd a chystadleuydd yw'r prawf mai Cristionogaeth yw crefydd derfynol y byd.

**14.** Nid yw yr angylion yn y gystadleuaeth, oblegyd holl ystyr eu bodolaeth hwy yw fod Duw wedi eu danfon i wasanaethu rhyw amcanion yng nghyflawniad teyrnas y Mab.

Sylwer fel y mae'r awdwr yn pentyrru geiriau sydd yn dynodi safle weinidogaethol yr angylion: ysprydion *gwasanaethgar* fel swyddogion y llywodraeth neu'r deml; *wedi eu danfon*, sef yn cael eu danfon gan Dduw fel bo'r angen; *er mwyn* y saint; *oll*, pob gradd o honynt (Eph. $1^{21}$). Y maent yn is-raddol nid yn unig i'r Mab, ond hefyd i'r saint (1 Cor. $6^{3}$). Ofer fyddai dyfalu beth yw natur gwasanaeth yr angylion. Dynoda eu henw mai dwyn cenhadaethau Duw i ddynion y maent. Ym mhrofiad cyffredin yr eglwys, y mae'r Yspryd Glân wedi cymeryd eu lle yn hynny. Dyna ddysgeidiaeth arferol y TN hefyd, er y ceir yma a thraw y syniad fod gan yr angylion ddylanwad ar fywydau dynion (Act. $10^{3}$ &c. $27^{23}$ 1 Cor. $4^{9}$ $11^{10}$ Dat. $1^{1}$ $17^{1}$ $21^{9}$ Mt. $18^{10}$?).

i wasanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth ?

---

*Iachawdwriaeth* : Golyga yn y TN (1) waredigaeth oddiwrth bechod, drwg a marwolaeth (He $7^{25}$ Mt. $1^{21}$ Rhuf. $5^{9\cdot 10}$ Iago $5^{20}$ Luc $19^{9}$ 2 Cor. $7^{10}$) a (2) diogelwch rhag pob gofid a gelyn yn nheyrnas berffaith y Mab (Rhuf. $13^{11}$ 1 Thess. $5^{9}$ He $5^{9}$ $9^{28}$). Yr ystyr olaf sydd amlycaf yn y fan hon, oblegyd edrych y mae i'r dyfodol at gwblhad teyrnas y Mab yn yr oes newydd neu'r byd a ddaw. Hwn yw ystyr arferol y Gair yn He. (Gwel Adnodiad E).

## ADNODIAD A.

## ATHRAWIAETH Y GAIR A'R CREAD.

Er na ddefnyddia awdwr He y term "y Gair" (*logos*) yn yr ystyr arbennig sydd iddo gan Philo, ac yn Efengyl Ioan, y mae yn eglur fod y drychfeddwl yn rhan o'i gyfundrefn feddyliol, fel yr oedd i Paul hefyd. Cyfrwng oedd y meddylddrych hwn gan Philo i egluro perthynas Duw â'r cread, ac yn arbennig â dyn fel bod rhesymol oedd hefyd yn rhan o'r cread. Ac wrth wisgo Iesu Grist ym mhriodoleddau'r meddylddrych hwn, ceisid dangos ei fod Ef o ran ei hanfod yn gyfryngwr rhwng Duw a'r byd, ac a dyn mewn creadigaeth, natur a grâs. Cryn fantais i ddeall He fydd ffurfio syniad gweddol glir am y drychfeddwl hwn, ac am y lle a lanwai yn y byd meddyliol yr oedd yr awdwr yn byw ynddo.

Yn yr HD dysgir yn gyffredin mai Duw ei hunan, Jehofah Duw Israel, a greodd y byd yn uniongyrchol a digyfrwng (Gen. $1^{1}$ $2^{4}$ Es. $40^{26\text{-}28}$ $45^{8,18}$ Salm 8 a 104, Job 38, &c.) Wedi'r gaethglud cododd syniad am Dduw fel un rhy uchel a santaidd i ymwneud yn uniongyrchol â'r byd, a dyfeiswyd nifer o wahanol gyfryngau y tybid fod Duw wedi eu creu ac yn llywodraethu y byd trwyddynt. Feallai fod awgrym o'r fath gyfryngau yn y rhif lliosog yn y brawddegau, "Gwnawn ddyn ar ein delw ni ; wrth ein llun ein hunain" (Gen. $1^{26}$) ac "holl

feibion Duw" (Job $38^{7}$). O'r cyfnod Persiaidd ymlaen, daeth yr angylion i lanw lle pwysig yn y meddwl Iddewig, fel cynrychiolwyr Duw yn llywodraethiad y byd. A datblygodd y Rabbiniaid athrawiaeth y *Memra*, sef Gair llafar Duw wedi ei bersonoli yn allu gweithredol a chreadigol.

Pan ddaeth y meddwl Iddewig o dan ddylanwad athroniaeth Roegaidd, fel y daeth yn Alecsandria, symudwyd Duw ymhellach fyth oddiwrth brofiad a meddwl dyn, a phersonolwyd ei Ddoethineb, ei Feddwl, ei Reswm, a elwid hefyd ei Air (*logos*), fel cyfryngau datguddiad a chreadigaeth. Yn Diar. $8^{22-31}$ a $3^{19-20}$ personolir Doethineb fel cyd-weithydd a chyfrwng Duw yn ei waith creadigol. "Pan barotôdd Efe y nefoedd . . . . . pan osododd Efe sylfeini y ddaear, yr oeddwn i [doethineb] gydag Ef fel prif-weithydd" ($8^{27-30}$ C.S.D.)

Ond yn y ddau ysgrifenydd Alecsandriaidd, awdwr "Llyfr Doethineb Solomon" a Philo, priodwyd "Doethineb" yr Iddew â "Rheswm" y Groegwr nes gwneud o honynt un meddylddrych a osodwyd yn gyfrwng creadigaeth, rhagluniaeth a datguddiad. Y mae yn lled sicr fod awdwr He yn gyfarwydd ag ysgrifeniadau'r ddau hyn, oblegyd mabwysiada nid yn unig eu drychfeddyliau, ond llawer o'u brawddegau mwyaf priodol, i fynegi ei athrawiaeth am Grist. Dywed Doeth. Sol. am Ddoethineb ei bod yn deilliaw o Dduw: "Canys angerdd gallu Duw yw hi, a ffrwd bur oddiwrth ogoniant yr Hollalluog: am hynny ni syrth dim halogedig iddi hi. Canys disgeirdeb y goleuni tragwyddol yw hi, difrycheulyd ddrych gweithrediad Duw, a delw ei ddaioni ef" ($7^{25-26}$). Yr un gair a gyfieithir "disgleirdeb" yn y fan hon ac yn He $1^{3}$. Doethineb hefyd "a wnaeth y cwbl"; y mae hi yn "hollalluog" ac "yn treiddio trwy bob peth" ($7^{22-24}$). "Hi a ddichon bob dim; ac yn aros ynddi ei hun, y mae hi yn adnewyddu pob dim; a thrwy'r oesoedd yn disgyn i'r eneidiau santaidd, y mae hi yn eu gwneuthur yn garedigion ac yn broffwydi i Dduw" ($7^{27}$). Yr un drychfeddwl dan ei enw arall a geir lle y dywedir: "Dy hollalluog air (*logos*)

di a neidiodd o'th orseddfa frenhinol i ganol y wlad ddinystriol fel rhyfelwr ffrom" (18[15]).

Sonia Philo hefyd am Ddoethineb fel llifeiriant daioni Duw, ffynhonell pob gwybodaeth, cyd-weithydd Duw a'i gyfrwng yng nghreadigaeth y byd. Ond y Gair (*logos*) yw term arbennig Philo, ac o dan yr enw hwn, fel rheol, y gweithia efe allan ei ddrychfeddwl llywodraethol. Dysgai Philo fod Duw yn Fôd unigol, syml, diberthynas, dibriodoledd, anamgyffredadwy, ac yn amhosibl iddo yn ei Hanfod ddod i unrhyw berthynas â'r byd ac â dyn. Am hynny danfonodd Duw ei Reswm allan o hono'i hunan, yr hwn a elwir ei *Air (*logos*), oblegyd mai meddwl Duw ydyw yn mynegi ei hunan mewn gweithred a datguddiad. Am ei fod yn rhan o Dduw, yn agwedd ar ei Hanfod, ac eto yn myned allan o hono, gelwir Ef yn Fab Duw, ei Fab hynaf, ei Gyntafanedig. Swm holl feddyliau Duw ydyw, ei Ddelw a'i Gysgod. Erys yn Nuw, ac ä allan o hono yn gyfrwng creadigaeth.

Gorffwysai cyfundrefn Philo yn ei phrif linellau ar ddelfrydiaeth Plato, a thybiai Philo fel Plato fod Duw wedi creu'r byd o fater afluniaidd a di-drefn oedd yn bodoli erioed, a dull y creu oedd danfon allan ei reswm, ei ddelfrydau, neu ei Air, i osod ei argraff ar y mater afluniaidd, hyd nes ei wneud yn fyd trefnus, fel y gesyd sêl ei hargraff ar y cŵyr. Y Gair yn gyntaf oedd archadeiladydd, patrwm, delfryd a chynllun y cread, a thrwyddo Ef, yn ail, y creodd Duw bob peth, sef y dygodd bob peth i'r fath drefn a elwir yn fyd (*Kosmos*). Mewn geiriau eraill, y Gair oedd achos terfynol ac effeithiol, nôd a gyriedydd pob peth, a chyfetyb i'r ddau syniad am y Mab yn He 1[2], ei fod yn etifedd a chrewr pob peth. "Pob dim a grewyd trwyddo Ef ac erddo Ef" (Col. 1[16] cf. 1 Cor. 8[6]). Y Gair hefyd yw deddf ac

---

* Golygai'r gair Groeg *logos* bob amser, ynddo'i hunan, y rheswm neu'r deall, fel y mae mewn dyn. yn ogystal a'i fynegiad trwy lafar mewn iaith neu air. Y cysylltiadau yn unig ddangosai pa un o'r ddwy ystyr a olygid.

egwyddor y cread. "Trwy gyfiawnder a deddf arweinia Duw ei ddiadell fawr, y pedair elfen a'r oll a luniwyd o honynt, cylchdroadau'r haul a'r lloer a mydrol ddawns y sêr, wedi gosod yn llywydd arnynt ei uniawn Air, ei gyntaf-anedig Fab, yr hwn a dderbyn ofal y ddiadell santaidd fel rhaglaw y Brenin Mawr." Y pennaf oll o bethau crëedig yw enaid dyn, ac y mae yntau wedi deilliaw o'r Gair dwyfol. "Yr enaid rhesymol neu'r yspryd, gan ei fod wedi ei lunio yn ol delfryd gwreiddiol y ddelw ddwyfol, sydd ei hunan yn ddelw o'r dwyfol a'r anweledig, wedi ei selio â sêl Duw, argraff (*charaktêr**) yr hon yw'r Gair tragwyddol." Y mae bywyd rhesymol dyn yn ddelw o'r Gair, fel y mae'r Gair yn ddelw Duw. Saif y Gair felly rhwng Duw a dyn; y Dyn o'r nef sydd yn cynrychioli holl deulu'r ddaear ger bron Duw. Y mae yn broffwyd ac offeiriad, yn rhoddi i ddyn y goleuni dwyfol i'w achub, ac yn cyflwyno'r enaid ger bron Duw, yn sefyll rhwng Duw a dyn "yn wystl i'r creawdwr nad a'r holl hil i wrthryfel llwyr, ac yn wystl i'r creadur i roddi iddo obaith sicr nad anghofia'r Duw trugarog ei waith ei hunan." Efe yw Melchisedec, y brenin heddychol, y Gair-offeiriad sydd yn arwain yr enaid at Dduw, trwy ei berswadio a'i faethu â bwyd a diod, sef â meddyliau aruchel a glan.

Gwelir yn awr mor agos yw'r berthynas rhwng y drychfeddwl hwn o eiddo Philo â phrif linellau esboniad Paul, He ac Ioan ar hanfod person Crist a'i berthynas â Duw ac â'r cread. Trwy briodi person hanesyddol Iesu o Nazareth â drychfeddwl athronyddol Philo, dygwyd bywyd a grym moesol i'r drychfeddwl nad oedd ynddo o'r blaen, ac eglurwyd hefyd berson a gwaith Iesu Grist yn y termau a'r categorïau uchaf a feddai athroniaeth y cyfnod. Yr oedd Iesu Grist a Philo yn gyd-oeswyr. Tra yr oedd yr Iesu ym Mhalestina yn agor ffynon y bywyd dwyfol yn natur dyn, yr oedd Philo yn Alecsandria yn defnyddio holl adnoddau gwybodaeth Iddew a Groegwr i dorri rhedwelyau ym meddwl

---

* Y gair hwn a gyfieithir yn "wir lun" yn He 1[8].

dynoliaeth, lle y gallai'r dyfroedd byw redeg a chronni a llifo trosodd maes o law. Paul ac awdwr He ac Ioan a arweinasant y dwfr i'w redwelyau, a diau iddynt ledu a dyfnhau a chymhwyso llawer arnynt i'r amcan. Canys felly y gosodwyd Crist allan trwy'r meddylddrych uchaf a chyfoethocaf a feddai'r byd, ac un a fynegai ar unwaith ei unoliaeth hanfodol â Duw, ei uwchafiaeth fel crewr a llywodraethwr y byd, a'i genhadaeth fel datguddiwr Duw i ddyn a chymodwr dyn â Duw. Ioan yn unig yn y TN a ddefnyddia'r term "Y Gair" yn yr ystyr hon, ond daw prif linellau'r drychfeddwl i'r golwg yr un mor eglur yn Paul a He.

(1) Yr oedd Crist fel y Gair o hanfod Duw: "Duw oedd y Gair" (Ioan $1^{1}$); "Yr hwn ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch a Duw" (Phil. $2^{6}$); "Ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol" (Col. $2^{9}$); "*ac* efe yn ddisgleirdeb gogoniant [Duw] ac yn wir lun ei berson [hanfod] *ef*" (He $1^{3}$)

(2) Fel y Gair, yr oedd Crist yn Fab Duw, yn deilliaw o hono, yn dwyn ei ddelw, yn dibynnu arno, ac fel y Mab unig-anedig neu gyntaf-anedig, saif yn nes at Dduw nag unrhyw fodolaeth arall. (Ioan $1^{14,18}$; Rhuf. $8^{29}$ Col. $1^{15}$ He $1^{5\text{-}6}$ $5^{5}$).

(3) Fel y Gair, daeth Crist allan oddiwrth Dduw yn gyntaf i greu, cynnal a llywodraethu'r cyfanfyd. Efe yw deddf, egwyddor ac amcan yr holl gread. "Yn y byd yr oedd efe, a'r byd a wnaethpwyd trwyddo ef" (Ioan $1^{3,10}$); "Pob dim a grewyd trwyddo ef, ac erddo ef . . . . ac ynddo ef y mae pob peth yn cydsefyll (Col. $1^{16\text{-}17}$ 1 Cor. $15^{24\text{-}25}$); "Yn etifedd pob peth, trwy yr hwn hefyd y gwnaeth efe y bydoedd (He $1^{2}$); "Yn cynnal pob peth trwy air ei nerth" ($1^{3}$).

(4) Fel y Gair, daeth Crist i'r byd i fynegi meddwl Duw a datguddio ei natur (Ioan $1^{5\text{-}18}$); "Yn yr hwn y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig" (Col. $2^{3}$ $1^{26\text{-}27}$ He $1^{1}$).

(5) Fel y Gair, hefyd, saif Crist yn gyfryngwr rhwng Duw a dynion. Yn y peth hwn, llwyddodd Paul a Ioan yn well na He i dorri dros derfynau cyfundrefn Philo, oblegyd yn y dirgelwch cuddiedig a phell y saif Duw ganddo ef yn y diwedd. Yn Paul a Ioan gwelir cariad a thrugaredd a thadolaeth Duw wedi torri trwy'r pellder a osodasai Iddewaeth ac athroniaeth Groeg rhyngddo a dynion. Y mae Duw ei hunan yn holl gyfoeth ei bresenoldeb ei hunan yn ymwneud â dynion yng Nghrist (Ioan $10^{30}$ $16^{27}$ Rhuf. $5^{8}$ 2 Cor. $5^{18-19}$). Y mae lle llawer amlycach i'r syniad o gyfryngwriaeth yn He. Perthyna offeiriadaeth Crist i'w hanfod, ac erys ynddo yn dragwyddol ($7^{24}$ $9^{14}$). Tywysog at Dduw yw Efe yn He yn fwy nag Emmanuel, Duw gyda ni. Gall er hynny mai safle meddwl ei ddarllenwyr yn hytrach na'i eiddo ei hunan sydd i gyfrif am fod yr awdwr wedi dewis y termau a'r ffigyrau a'r drychfeddyliau offeiriadol, gan obeithio eu harwain hwy o'r fan lle yr oeddynt i'r tu fewn i'r llen, ac yn y diwedd hyd at Dduw (He $6^{19-20}$ $10^{19-22}$ $12^{2,23}$).

## ADNODIAD B.

## YR ATHRAWIAETH AM YR ANGYLION.

Ystyr y geiriau Hebraeg a Groeg a gyfieithir "angel" yw "cennad," a defnyddir hwynt yn eu hystyr lythrennol am ddynion yn ogystal ag am fodau ysprydol.

(1) Yn llenyddiaeth yr HD cyn y gaethglud, cymharol ychydig gyfeiriadau a geir at angylion, ac ychydig le oedd iddynt ym mywyd crefyddol y genedl. Gwir y ceir cyfeiriadau aml at angel Jehofah, neu angel y cyfamod, ond ffurf oedd hwnnw ar ymddangosiad Jehofah ei hunan i'w bobl (Gen. $16^{7-14}$ $22^{11,14,15}$ Ex. $3^{2}$ $2^{1,4}$ $5^{23}$ $6^{11-24}$).

(2) Ar ol y gaethglud, o herwydd yr amlygrwydd a roddid i uchfodaeth Duw, a'r angen oedd i bwysleisio ei uchafiaeth ar dduwiau'r cenhedloedd ac ar bob bôd ysprydol arall, daeth y ddysgeidiaeth am angylion yn llawer amlycach yn niwinyddiaeth yr Iddewon. Diau

fod y grêd ym modolaeth angylion yn hen ymhlith yr Hebreaid, ond yn y cyfnod hwn y daeth i gael lle mawr ym mywyd crefyddol a chyfundrefn ddiwinyddol y genedl. Ac fe ymddengys fod plaid geidwadol y Saduceaid hyd yn oed y pryd hwn wedi gwrthod derbyn y ddiwinyddiaeth newydd am angylion (Act. 23[8]). Feallai fod a fynno dylanwad crefydd Persia rywbeth â'r cyfnewidiad, oblegyd yr oedd i angylion le mawr yn y grefydd honno, a daeth yr Iddewon o dan ei dylanwad, nid yn unig yn y gaethglud, ond oherwydd ymledu o'r syniadau Persiaidd dros yr holl fyd gwareiddiedig yng nghyfnod goruchafiaeth ymherodraeth y Persiaid.

(3) Pan ddaw yr angylion i amlygrwydd gyntaf yn yr HD, cymerir eu bodolaeth yn ganiataol. Ni ddywedir iddynt gael eu creu, ac ni roddir un cyfrif am eu dechreuad.

(*a*) Ag eithrio'r seraphiaid (Es. 6[2]) yr oeddynt o ran ymddangosiad yn debyg i ddynion (Gen. 18[2,16,22] Ezek. 9[2,3,11] Dan. 9[21] Luc 24[4] Act. 1[10]). Siaradent, cerddent a gweithredent fel dynion. Nis gelwir hwynt yn ysprydion yn yr HD, ond fe wneir unwaith yn y TN. (He 1[14]. Gwel nodiadau). Cysylltir hwy weithiau mewn modd arbennig â galluoedd natur (Dat. 14[18] 16[5]). Feallai mai barddoniaeth yn personoli galluoedd natur sydd yn Salm 104[4]. (Gwel He 1[7] a'r nodiad). Nid oes amheuaeth nad ystyrrid hwynt yn gyffredin fel personau yn meddu deall ac ewyllys, ac i bob amcan ymarferol yn ysprydion, er nad oedd y gwahaniaeth rhwng mater ac yspryd wedi ei ddeffinio eto yn yr HD. Yn y TN priodolir iddynt ymddangosiad disglaer a gogoneddus a awgryma'r goruwch-naturiol (Mt. 28[3] Luc 2[9] Act. 12[7]).

(*b*) Gweinyddent yn gyntaf fel llys neu gyngor neu gynulleidfa o gylch gorsedd Jehofah (Es. 6[5] Salm 103[20-21] 148[2]). Yn y TN y maent yn llu mawr (Luc 2[9,13] He 12[22]), a deuant yng ngosgorddlu'r Mab yn yr ail-ddyfodiad (Mt. 16[27] 25[31] 1 Thess. 4[16] 2 Thess. 1[7]).

(*c*) O amser Zechariah ymlaen deuent fel cenhadon at y proffwydi i ddatguddio iddynt feddwl Duw (Zech. 1[13,19] 2[3] Dan. 9[20] &c.), a chyfrifid hwy yn gyf-

ryngwyr rhoddiad y ddeddf ar Sinai (He 2[2] Gal. 3[19] Act. 7[53] Dt. 33[2] LXX). Ac yn y TN rhoddid trwyddynt hwy ddatguddiadau neillduol i ddynion (Mt. 1[20] 2[13] Luc 1[11] &c, Act. 10[3] &c.). Trwy angel y rhoddwyd i Ioan genadwri llyfr y Datguddiad (1[1] 22[16]).

(*d*) Gwasanaethent fel cenhadon gweinyddiadau Duw tuag at ddynion, ei gynorthwyon (Salm 34[7] 91[11] Dan. 3[28] Act. 12[7-9] He 1[14] Mt. 2[13] Luc 22[43]) a'i farnedigaethau (Salm 35[5] 78[49]).

(*e*) Yng nghyfnod olaf yr HD dysgid eu bod yn angylion gwarcheidiol y gwahanol genhedloedd (Dt. 32[8] LXX. Ecclus. 17[17] Dan. 10[13,20], ac feallai Salm 82, Dan. 12[1]). Gwahaniaetha Daniel oddiwrth y lleill, gan eu bod hwy yn cadw gwarcheidiaeth Israel i Jehofah, ond gesyd Daniel yn dywysog ar Israel hefyd yr archangel Michael.

(*f*) Syniad tra diweddar yw fod yr angylion yn eiriol dros ddynion gyda Duw, am fendith i'r da a chosb i'r drwg (Zech. 1[12] Job 33[23]? Tobit 12[15] Enoch 9[10] 15[2] 14[6] Dat. 8[3-4]).

(*g*) Perthynai i'r angylion wahanol raddau, a sonir am saith angel arbennig, er na chofnodir enwau ond pedwar o honynt, sef Michael, a elwir yn arch-angel (Judas 9) a thywysog Israel (Dan. 10[13,20] 12[1]), Gabriel (Dan. 8[16] Luc 1[16,26]), Raphael (Tobit 12[15]) ac Uriel (2 Esdras 5[20]).

(*h*) Datblygiad pwysicach oedd gwahaniaethu rhwng yr angylion da a drwg. Diau mai yr angylion a olygir wrth y "rhai santaidd" (Job 5[1] 15[15] Zech. 14[5] Dan. 4[14] Salm 89[6]), ond gall mai urddas yn fwy na moesoldeb a ddynodir gan y frawddeg yn y mannau hyn. Yn amseroedd boreuaf yr HD ni chysylltid ystyr foesol â'r angylion, ac ystyrrid fod da a drwg yn dod oddiwrth Jehofah, naill ai yn uniongyrchol neu trwy ysprydion drwg a ddanfonasai Efe (1 Sam. 16[14] 1 Bren. 22[23]), ac mor ddiweddar a llyfr Job ceir Satan ymhlith "meibion Duw" (Job 2[1]). Ond yn y TN saif Satan a'i angylion

yn ddiamwys am deyrnas y drygioni a'r tywyllwch (Mt. 25$^{41}$ Dat. 12$^{7}$), a cheir awgrymiadau o'r syniad fod yr angylion wedi syrthio, ac yn cael eu dal mewn carchar hyd farn y dydd mawr (Enoch 6-15, 2 Pedr 2$^{4}$ Judas 6).

## ADNODIAD C.

## Y DYFYNIADAU O'R HEN DESTAMENT.

Ar olwg arwynebol, nis gellir llai na theimlo fod dull yr awdwr o ddyfynnu o'r HD yn anghyfreithlon, ac anfuddiol hefyd. Tyn frawddegau, ac hyd yn oed eiriau, allan o'u cysylltiadau hanesyddol, a rhydd iddynt ba ystyr bynnag a fydd yn ateb ei bwrpas ar y pryd, ac ar yr ystyr a ddarlleno i fewn iddynt y pwysa ei ymresymiad. Ond ni chollai ei ddadl ei grym o herwydd hynny, oblegyd cytunai ef â'i ddarllenwyr i gydnabod awdurdod ddwyfol pob rhan o'r HD fel eu gilydd, ac hefyd i'w esbonio yn ol y dull alegoraidd o ddwyn allan o hono yr hyn a ystyrient hwy ar y pryd yn wirionedd. Defnyddid yr un dull esboniadol gan Paul (Gal. 4$^{22-31}$ 3$^{13,16}$). Feallai fod mwy o reswm a gwirionedd ysprydol yn yr esboniadaeth nag a ymddengys ar y wyneb. O leiaf y mae o bwys cymeryd cyfrif o ffordd arbennig yr awdwr o ddyfynnu, wrth geisio esbonio'r epistol.

(1) Eglur yw fod gwybodaeth yr awdwr o'r HD yn dibynnu yn bennaf os nad yn hollol ar gyfieithad yr LXX. Gellir rhannu ei ddyfyniadau o'r safbwynt hwn i dri dosbarth :—

(*a*) Dyfyniadau sydd yr un fath yn y Beibl Hebraeg a'r LXX. 1$^{5a}$=Salm 2$^{7}$; 1$^{5b}$=2 Sam. 7$^{14}$; 1$^{13}$=Salm 110$^{1}$; 5$^{6}$ a 7$^{21}$=Salm 110$^{4}$; 10$^{30}$=Dt. 32$^{36}$; 11$^{18}$=Gen. 21$^{12}$.

(*b*) Dyfyniadau sydd yn wahanol yn yr Hebraeg a'r LXX. lle y dilyna'r awdwr yr LXX. :—1$^{7}$=Salm 104$^{4}$; 2$^{6-8}$=Salm 8$^{4-6}$; 2$^{13a}$=Es. 8$^{17}$; 2$^{13b}$=Es. 8$^{18}$; 8$^{8-12}$=Jer. 31$^{31-34}$; 10$^{37-38}$=Hab. 2$^{3-4}$; 11$^{5}$=Gen. 5$^{24}$; 11$^{21}$=Gen. 47$^{31}$; 12$^{5-6}$=Diar. 3$^{11-12}$; 13$^{6}$=Salm 118$^{6}$.

(*c*) Dyfyniadau lle y gwahaniaetha'r awdwr oddiwrth yr Hebraeg a'r LXX. :—$1^{10-12}$=Salm $10^{25-27}$; $3^{7-11}$=Salm $95^{7-11}$; $6^{14}$=Gen. $22^{17}$; $7^{1}$=Gen. $14^{18-19}$; $8^{5}$=Ex. $25^{40}$; $9^{20}$=Ex. $24^{8}$; $10^{5-7}$=Salm $40^{6-8}$; $10^{30}$=Dt. $32^{35}$; $12^{12}$=Es. $35^{3}$ Job $4^{3-4}$; $12^{13}$=Diar. $4^{26}$; $12^{20}$=Ex. $19^{13}$; $13^{5}$=Dt. $31^{6}$. Cyfrifir am y rhai hyn mewn amryw ffyrdd. Mewn rhai mannau y mae'r gwahaniaeth oddiwrth yr Hebraeg a'r LXX. mor ychydig fel y gallai godi o'r ffaith fod yr awdwr yn dyfynnu o'i gôf, ac mewn mannau eraill y mae'r gwahaniaeth yn gymaint fel y gellir tybied na fwriadai yr awdwr ddyfynnu, ond yn unig fod adgof o eiriau'r HD wedi rhoddi eu lliw ar ei frawddegau. Ymddengys ei fod mewn rhai mannau wedi newid y frawddeg yn fwriadol i ateb amcan ei ymresymiad, ac mewn mannau eraill y mae'n bosibl ac yn debygol ei fod yn dyfynnu o ryw lawysgrif o'r LXX. nad yw bellach ar gael. Mewn dau le cytuna'r awdwr â'r Hebraeg lle y gwahaniaetha ychydig oddiwrth yr LXX., sef $1^{8-9}$=Salm $45^{6-7}$, a $2^{12}$=Salm $22^{22}$. Nid yw yn debygol ei fod yn y ddau le hyn yn unig yn cywiro'r LXX. trwy'r Hebraeg, oblegyd peidia a gwneud hynny mewn llawer o fannau lle y mae'r gwahaniaeth yn fwy, ac mewn rhai mannau gorffwysa ei ymresymiad ar yr LXX. lle y mae yn gyfieithad anghywir o'r Hebraeg. Tebyg felly mai dilyn yr oedd ryw lawysgrif o'r LXX. sydd wedi ei cholli, a hithau yn fwy cywir na'r rhai sydd ar gael yn y ddau le a nodwyd. Gwelir yn awr fod yr awdwr hwn fel Paul yn gosod awdurdod ddwyfol yr ysgrythyrau yn eu hystyr gyffredinol, ac nid ymhob gair a llythyren, oblegyd cymer gryn ryddid gyda'r geiriau a'r brawddegau.

(2) Defnyddia ysgrythyrau yr HD yn gyson â'i syniad fod yr oll o'r hen oruchwyliaeth yn gysgod a phroffwydoliaeth o ordeiniad Duw i'r oruchwyliaeth newydd. Ychydig ddyddordeb sydd iddo ef yn llythyren, llên neu hanes yr HD fel y cyfryw. Darluniau neu ddamhegion oeddynt yn unig i ddangos y sylwedd sydd yng Nghrist, a chymer yr adnod a fynno, heb gyfrif dim ar ei chysylltiad gwreiddiol na'i hystyr lythyrennol, cyhyd ag y gwasanaetha i ddangos Crist. Defnyddia ef

am y Messiah adnodau y mae yn amlwg fod eu cyfeiriad gwreiddiol yn yr HD at Jehofah, neu frenin Israel, neu ryw berson hanesyddol arall. Yr oedd y dull alegoraidd a ddefnyddia yn nodweddiadol o ysgolheigion Alecsandria. Gwelir ef bron ar bob tudalen o weithiau Philo. Nid oedd un enw na digwyddiad yn rhy ddibwys i Philo weled ynddynt y Gair, nac i awdwr He weled Crist ynddynt. Nid yw'r oll o'r HD ond un alegori fawr, cysgod y pethau gwell. Er cymaint y dyfyniadau o'r HD yn He, nid yr HD a geir ganddo, ond yr esboniad ar yr HD a ddaethai i fri yn y cylchoedd Iddewig a Christionogol lle y teyrnasai athroniaeth Alecsandria. Gwahaniaetha Westcott rhwng esboniadaeth alegoraidd Philo ag eiddo He, gan alw'r olaf yn arwyddluniol (*typical*). "Rhwng yr arwyddlun (*type*) a'r gwrth-lun (*anti-type*) y mae cyfatebiaeth hanesyddol, wirioneddol, ym mhrif syniadau pob un o'r digwyddiadau neu sefydliadau. Rhwng yr alegori a'i chymhwysiad gorwedd y gyfatebiaeth rhwng pwyntiau arbennig wedi eu cymeryd ar ddamwain i gynrychioli ffeithiau neu feddyliau o fath gwahanol." (Westcott: *The Epistle to the Hebrews*, p. 200). Deallir yr hyn olyga Westcott wrth gymharu alegori Paul rhwng Agar, mynydd Sina, Jerusalem a'r ddeddf (Gal. $4^{25}$) â'r gyfatebiaeth rhwng Crist a Melchisedec a ddanghosir yn He 7. Nid oes un tebygrwydd gweledig rhwng gwahanol dermau'r alegori gyntaf, ond y mae rhyw debygrwydd hanesyddol rhwng Melchisedec fel y danghosir ef yn Gen. $14^{18\text{-}20}$ a Christ fel offeiriad. Eto mewn gwirionedd gwahaniaeth graddau yn unig sydd rhwng y ddau ddull. Yr un yw'r egwyddor, sef, ar sail rhyw debygrwydd mwy neu lai, tybiedig neu wirioneddol, rhoddid ystyr newydd i ffigyr neu hanes neu berson. Gwelir y gwahaniaeth graddau yn namhegion Crist. Yn Luc 15 danghosir perthynas Duw â phechadur yn ol cymhariaeth gwraig a'i darn arian, bugail a'i ddafad, a thad a'i fachgen. Gellir, os mynnir, galw'r cyntaf yn alegori am fod y tebygrwydd yn ychydig, a'r olaf yn arwyddlun am fod y tebygrwydd yn fwy, ond yr un yw'r egwyddor. Diau fod Westcott yn iawn cyn belled a bod He yn

seilio'i athrawiaethau ar rannau o'r HD oedd yn cynnwys mwy o debygrwydd iddynt, nag oedd yn yr hyn y seiliai Philo ei athrawiaethau arnynt, ond darllen eu syniadau eu hunain i fewn i'r HD a wnai'r naill fel y llall. Ac nid yw'r egwyddor alegoraidd yn amddifad o wirionedd. Mae mwy o ystyr ymhob peth nag sydd yn y golwg. Daw bwriadau Duw i'r golwg mewn un oes yn rhannol, megis cysgod, a chyflawnir hwy mewn oes ddilynol, a bydd yn hawddach deall eu hystyr yng nghyfnod eu cyflawniad na phan ddechreusant ddod i'r golwg. Mewn ystyr bwysig, gwyddai ysgrifenwyr y TN beth oedd meddwl ysgrifenwyr yr HD yn well na hwy eu hunain. Yr oedd mwy o'r Messiah yn yr HD nag a dybiasai'r proffwydi. Ond perygl y dull hwn o esbonio yw cymysgu'r safbwynt alegoraidd a'r un hanesyddol, neu gamgymeryd y naill am y llall. Dylid gwahaniaethu rhwng yr athrawiaethau a ddarllenir i fewn i'r HD, neu allan o hono, gan yr alegorydd, ac ystyr yr HD ei hunan ym meddyliau ei ysgrifenwyr, ac ystyried bob tro pa raddau o debygrwydd sydd rhwng yr alegori a'r hanes y seilir hi arno. Dylid cymeryd yr alegorïau am yr hyn ydynt, sef awgrymiadau a darluniau ac eglurebau o'r gwirionedd a ddatguddiwyd i awdwr He, ac felly y defnyddia efe hwynt ; ond fe ellir defnyddio'r un darluniau i awgrymu neu egluro llawer gwirionedd arall. Peth arall hollol wahanol yw esboniadaeth fanwl a chywir ar yr HD. Nid oedd hynny ym mwriad awdwr He. Golyga hynny gysylltu pob syniad, a gosod pob digwyddiad yn eu lle priodol yn y byd hanesyddol y perthynant iddo.

II. 1 AM HYNNY y mae yn rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom, rhag un amser i ni *eu* gollwng *hwy* i golli.

---

### iii. Y Perygl o esgeuluso Iachawdwriaeth trwy'r Mab. II[1-4]

Dyma'r cyntaf o nifer o gasgliadau ymarferol a rhybuddiol sydd wedi eu gwau i fewn i ymresymiad yr epistol. O gymaint ag y mae person a theyrnas y Mab yn rhagori ar natur a safle'r angylion, nad ydynt ond gweinidogion, o gymaint a hynny'n bwysicach yw yr hyn a lefarwyd trwyddo Ef na'r hyn a lefarwyd trwyddynt hwy, a chymaint yn fwy yw'r perygl o esgeuluso'r naill ddatguddiad na'r llall. Ni ddihangodd neb heb gosb a esgeulusodd y datguddiad a ddaeth trwy angylion, a llai byth y diangc neb a esgeulusa ddatguddiad y Mab, oblegyd rhaid iddo Ef ennill buddugoliaeth lwyr ar ei holl wrthwynebwyr.

1. *Am hynny*, sef yr hyn a brofwyd am ragoriaeth y Mab yn Pen. 1.

*Y mae yn rhaid:* Gwell na *We ought* (fe ddylem) y C.S.D.; anghenraid rheswm yn hytrach na dyled foesol a ddynodir.

*Ddal yn well:* **yn helaethach.** Hawliai rhagoriaeth y Mab a'i ddatguddiad sylw a derbyniad cyfatebol gan ddynion.

*Y pethau a glywsom:* **y pethau a glybuwyd.** Ffordd arall o ddweyd "y pethau a lefarodd y Mab."

*Rhag un amser:* **rhag digwydd** (*lest haply*, C.S.D.). Teimla'r awdwr hwn yn ddwfn y perygl i ddynion golli gafael ar yr efengyl yn raddol ac heb yn wybod iddynt eu hunain. Perygl yr "Hebreaid" hyn oedd nid gwrthod Cristionogaeth a throi oddiwrthi yn bendant a chyhoeddus, ond llithro yn raddol i syniadau a theimladau llac ac isel nes colli ei sylwedd hi, tra yn cadw'r enw. Rhag dirywiad mewnol, anymwybodol y rhybuddia'r awdwr hwy drachefn a thrachefn. "Edrychwch frodyr" (3[12]); "Ofnwn gan hynny" (4[1]); "Byddwn ddyfal gan hynny" (4[11]); a gwel Pen. 6.

2 Canys os bu gadarn y gair a lefarwyd trwy angelion, ac os derbyniodd pob trosedd ac anufudd-dod gyfiawn daledigaeth ;

---

[*Eu*] *gollwng* [*hwy*] *i golli*: **i lithro heibio** (*drift away*, C.S.D.), fel y llithra cwch ar gefn y llanw heibio'r angorfa a methu glanio. Meddwl yr awdwr yw fod perygl i ddylanwadau bydol a llygredig i gario'r "Hebreaid" ymaith oddiwrth wirionedd yr efengyl. cf. "Angor yr enaid" ($6^{19}$). Y mae'r nodyn ar ymyl y ddalen yn y Cyf. Cym. yn anghywir. Nid "llestri canddryll" yn gollwng eu cynnwys a olygir. Y mae'r gwirionedd yn sefydlog fel angorfa, a dyn sydd yn ansefydlog, ac mewn perygl o golli gafael arno, a chael ei gario i ryferthwy anghrediniaeth. Yr un perygl, o dan ffigyr hollol wahanol, a olygir wrth yr hâd a hauwyd ymhlith drain (Mt. $13^{22}$).

2. *Os bu gadarn*: **Os daeth yn sicr,** h.y., gan fod canlyniadau anufudd-dod i air yr angylion wedi profi ei ddwyfol awdurdod. Ymresymiad o'r llai i'r mwy.

*Y gair a lefarwyd trwy angylion*: Y ddeddf Foesenaidd. Nid oes son am yr angylion ynglyn â rhoddiad y ddeddf yn Ex. 19, ond datblygodd y syniad yn raddol mewn cyfnod diweddarach. Ni ddywedir yn unlle yn yr HD fwy na'u bod yn bresennol (Dt. $33^{2}$ Salm $68^{16}$). Yn y TN cyfeirir atynt fel cyfryngau rhoddiad y ddeddf (Act. $7^{53}$ Gal. $3^{19}$), ac hefyd gan Josephus (Hynaf. XV. $5^{3}$). Nid oes sail i'r dybiaeth fod yr awdwr yn priodoli holl ddatguddiad yr HD i'r angylion, oblegyd dywedodd o'r blaen fod Duw yn llefaru hefyd trwy'r proffwydi ($1^{1}$).

*Pob trosedd*: llyth. **camu dros y llinell,** gweithredoedd croes i'r ddeddf; *ac anufudd-dod*, llyth. **cam-wrando,** gwrthod gwrando, yspryd mewnol croes i'r ddeddf ac yn gwrthod cydsynio â hi. Gwneud yr hyn na ddylid a gwrthod gwneud yr hyn a ddylid. Yr olaf oedd prif berygl yr "Hebreaid."

*Gyfiawn daledigaeth*, sef cosb gyfartal i bob anufudd-dod, ym marnedigaeth Duw (Lef. $10^{1-2}$ Num. $11^{33}$ $15^{32-36}$ Dt. $4^{3}$ Josh. $7^{25}$ Dt. $28^{15-68}$ Ex. $32^{28}$). Yn ei esboniad o

3 Pa fodd y diangwn ni, os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint,

---

hanes y genedl, mabwysiada'r awdwr yr athrawiaeth Iddewig fod aflwydd a phoen ac angeu yn gosb am bechod ($3^{9-12}$ $12^{25}$). Tra nad oedd y syniad am fyd arall wedi ei ddatguddio yn yr HD, rhaid oedd i'r gred yn llywodraeth Duw gymeryd rhyw ffurf o'r fath, ond gwirionedd rhannol oedd, ac hawdd iddo fyned yn gyfeiliornad. Gwrth-dystiad yn erbyn yr athrawiaeth yn ei ffurf fwyaf allanol yw Llyfr Job, a gwrthododd Iesu Grist hi yn bendant (Luc $13^{1-5}$ Ioan $9^{3}$). Diau fod yn aml gysylltiad achosol rhwng pechod a dioddefaint yn y byd hwn, ond o'r tu arall gwelir "yr annuwiol yn gadarn ac yn frigog fel y lawryf gwyrdd" a gwas yr Arglwydd yn "wr gofidus a chynnefin a dolur," oblegyd y mae llywodraeth foesol Duw yn llawer eangach na'r byd materol ac amserol, ac ni ddatguddir hi yn llawn ond yn y byd ysprydol a thragwyddol. Ac er fod y syniad traddodiadol am hanes Israel yn cael lle yn He, y mae yn amlwg mai'r syniad mwy ysprydol sydd yn llywodraethu ei ymdriniaeth â'r bywyd Cristionogol. Nid cosbau tymhorol yw canlyniadau pechod yn nheyrnas y Mab, ond marwolaeth ysprydol ($4^{12}$ $6^{4-8}$).

3. *Pa fodd y diangwn ni:* Mae'r pwyslais ar y "**ni**" y llefarodd y Mab wrthynt ($1^{1}$) mewn gwrthgyferbyniad i'r Israeliaid na chlywsant ond gair angylion. Gedy yr awdwr y "diangc" yn agored i'r darllenydd ddychmygu y fath ganlyniadau arswydus raid ddilyn esgeuluso breintiau gymaint yn rhagorach ($10^{28-29}$).

*Os esgeuluswn:* **os wedi esgeuluso.** Nid ei gwrthod, ond bod yn ddiofal a difater ar ol ei derbyn. Dynoda'r gair ynddo'i hunan agwedd meddwl sydd yn barhaus yn anufudd neu ddifater, ond defnyddia'r awdwr y ffurf amhenodol (*aorist*) ar y ferf er casglu holl esgeulusdod bywyd ynghyd megis un weithred.

*Iachawdwriaeth* trwy'r Mab mewn gwrthgyferbyniad i'r gair neu'r ddeddf a ddaeth trwy angylion. (Gwel ar $1^{14}$).

yr hon, wedi dechreu ei thraethu trwy yr Arglwydd, a sicrhâwyd i ni gan y rhai a'*i* clywsant *ef* :

---

*Gymaint.* Mor fawr ag y gwelir hi yng ngoleu person y Cyfryngwr.

*Yr hon :* **Y fath un** (neu **gan ei bod,** *inasmuch as*). Rhydd yr awdwr dair o arwyddion ei mawredd :—(1) Cyhoeddwyd hi gan yr Arglwydd [Iesu Grist]; (2) Sicrhawyd hi gan y rhai a'i clywsant Ef; a (3) rhoddodd Duw ei hun brawfion ychwanegol o'i gwirionedd hi.

*Wedi dechreu ei thraethu :* **Wedi cael dechreuad i'w llefaru,** h.y., wedi cael ei dechreu a'i llefaru.

*Trwy yr Arglwydd :* Cyfrwng datguddiad oedd Iesu Grist, a Duw oedd ei ffynhonnell. Dechreuwyd galw Iesu Grist yn "Arglwydd" yn gynnar yn hanes yr eglwys (Act. $1^{21}$ $4^{33}$ $9^{1}$; Iago $5^{7}$; 1 Thess. $1^{3}$ $4^{17}$; Gal. $6^{18}$; 1 Cor. $4^{5}$; 2 Cor. $5^{6}$). Arwydd sicr oedd hynny fod yr eglwys yn ymarferol wedi rhoddi iddo safle ddwyfol, oblegyd "Arglwydd" yw'r gair cyson yn yr LXX. i gyfieithu "Jehofah." Gelwir Iesu Grist yn Arglwydd yn llawer amlach yn yr Actau ac yn epistolau Paul a Phedr nag yn He, lle na wneir ond pedair neu bump o weithiau ($1^{10}$ $7^{14}$ $13^{20}$ ac feallai $12^{14}$). Mwyaf oll yr urddas a ddynoda'r gair yn y fan hon, gan mai anaml y defnyddia'r awdwr ef.

*A sicrhawyd :* Yr un gair a gyfieithir "a fu gadarn" yn adn. 2, ac mewn gwrthgyferbyniad i hwnnw y defnyddir ef yma. Golyga bregethiad cywir o'r efengyl a'r arwyddion cyd-fynedol (adn. 4).

*I ni :* **Hyd atom ni.** Fe'i trosglwyddwyd o'i dechreuad hyd atom ni, ac fe'i sicrhawyd hi i ni.

*Gan y rhai a'i clywsant ef:* llyth. **gan y rhai a glywsant,** ond rhydd y Cyf. Cym. y synwyr yn fwy cywir. Yr oedd yr awdwr a'i ddarllenwyr wedi derbyn yr efengyl gan y rhai a glywsant Iesu Grist yn nyddiau ei gnawd. Credir yn gyffredin fod y ffaith hon yn cau

4 *A* Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu, trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a doniau yr Yspryd Glân, yn ol ei ewyllys ei hun ?

---

allan y posibilrwydd mai Paul oedd awdwr He, oblegyd dywed ef yn bendant na dderbyniodd efe yr efengyl gan ddisgyblion personol yr Arglwydd Iesu, ond yn uniongyrchol "trwy ddatguddiad Iesu Grist" (Gal. 1[12] Cor. 11[23] 15[3]). Cauir allan hefyd, wrth reswm, holl ddisgyblion personol Iesu Grist. (Gwel Rhagarweiniad III. 2 i.).

4. *A Duw hefyd yn cyd-dystiolaethu* gyda hwynt pan yn pregethu.

*Trwy arwyddion a rhyfeddodau:* Ceir y ddau air hyn yn aml gyda'u gilydd yn y TN yn dynodi gwyrthiau neu ryw ddigwyddiadau eithriadol (Mt. 24[24]; Marc 13[22]; Ioan 4[48]; Act. 2[19,43] 4[30] 5[12] 6[8] 7[36] 14[3] 15[12]; Rhuf. 15[19]; 2 Thess. 2[9]). Yn gyffredin dynoda'r ddau air yr un ffaith dan agweddau gwahanol. *Rhyfeddodau*, am eu bod yn bethau anghyffredin, yn tynnu sylw a chreu syndod, ac *arwyddion* am eu bod yn tystiolaethu am rywun neu rywbeth y tu ol iddynt.

*Ac amryw nerthoedd:* Gall y frawddeg olygu (1) gweithredoedd nerthol, sef gwyrthiau (Marc 6[2,5]; Mt. 13[58]), neu (2) y gallu i'w gwneuthur a ddaethai i'r golwg yn yr arwyddion a'r rhyfeddodau (Marc 6[14]; 1 Cor. 12[10,28]; 2 Thess. 2[9]).

*A doniau yr Yspryd Glân*: **cyfraniadau o'r Yspryd Glan.** Duw sydd yn rhoddi'r Yspryd Glân, ac er mai un Yspryd yw ef, rhennir ef mewn dylanwad a gweithredoedd "i bob un o'r neilldu" (1 Cor. 12[11]; 2 Cor. 10[13]; Act. 2[3]). Golygir doniau ysprydol o'r fath a ddesgrifir yn 1 Cor. 12 a 14, pethau amlwg i bawb, yn hytrach na dylanwadau moesol oddifewn. Apelia'r awdwr at ei ddarllenwyr fel rhai oedd wedi gweled y gwyrthiau, ac oeddynt eto yn credu ynddynt.

*Yn ol ei ewyllys ei hun:* **Yn ol gweithrediad ei ewyllys ef,** sef Duw. Y tu ol i holl foddau datguddiad iachaw-

5 Canys nid i'r angelion y darostyngodd efe y byd a ddaw, am yr hwn yr ydym yn llefaru.

---

dwriaeth, yn y Mab a'r apostolion, yn y gwyrthiau a thrwy yr Yspryd Glân, y mae ewyllys Duw yn gweithredu o hyd.

### iv. **Y Mab a'r Ddynoliaeth.** II.[5-18]

#### (1) *Iselder ac Urddas Dyn.* 2[5-8]

Wedi dangos cymhwyster Crist i ddatguddio Duw ar gyfrif gogoniant ac awdurdod ei natur ddwyfol, a'i safle frenhinol, a gwasgu'r gwirionedd at ei ddarllenwyr, â yr awdwr yn ei flaen i ddangos ymhellach ei gymhwyster i fod yn awdwr iachawdwriaeth ar gyfrif ei ymostyngiad a'i aberth yn natur dyn.

**5.** Adn. newid-ymadrodd, yn cydio yn uniongyrchol wrth 2[1-4], ond hefyd yn cysylltu ymresymiad pen. 1 â'r hyn sydd yn dilyn.

*Canys*, neu **oblegyd:** Gorffwysa hawliau'r iachawdwriaeth fawr yng Nghrist, rhagor eiddo'r ddeddf, nid yn unig ar urddas ei berson dwyfol, ond hefyd ar ddyrchafiad dynoliaeth uwchlaw'r angylion ym mherson Crist.

*Nid i'r angylion*: **Nid i angylion,** heb y fanod; nid i angylion fel dosbarth cyffredinol, ond i ddynion.

*Y darostyngodd efe*, sef Duw.

*Y byd a ddaw*, mewn gwrthgyferbyniad i'r byd hwn, lle yr oedd rhyw fath o lywodraeth gan yr angylion, oblegyd er mai "ysprydion gwasanaethgar" oeddynt yn eu perthynas â Duw ac â'r Mab, golygai eu gwasanaeth, ac yn arbennig eu swyddogaeth yn rhoddiad y ddeddf, ryw awdurdod dros ddynion (1[7,14] 2[2]). Yr oedd y syniad hwn yn un cyffredin ymhlith yr Iddewon (Dan. 4[23] 10[13,20,21] 12[1]; Dt. 32[8] LXX. lle y cyfieithir "yn ol rhifedi angylion Duw" yn lle "meibion Israel," Ecclus. 17[17]). Golyga'r frawddeg, **Y byd o ddynion sydd i ddyfod,** byd delfrydol teyrnas y Messiah, pan fydd hi wedi ei

6 Eithr un mewn rhyw fan a dystiolaethodd, gan ddywedyd, Pa

---

chyflawni. Nid y byd tuhwnt i'r bedd, na'r nefoedd, ond y byd sydd yn awr yn bod yn hanfod bur y delfrydol, ac a sylweddolir yn hanes dyn pan ddarostyngir pob peth i'r Mab (1[13]), ac ynddo Ef, i'r ddynoliaeth (2[8,9]). Yng nghylch ymddangosiad ac hanes ar y ddaear, nid yw'r byd sydd i fod eto wedi dod. "Yr awrhon nid ydym ni eto yn gweled" (adn. 7), ond "yr ydym ni yn gweled Iesu" (adn. 8), yn wystl a sicrwydd ei *fod* mewn gwirionedd, ac y daw mewn hanes. (Gwel ar 1[1] ac Adnodiad E).

*Am yr hwn yr ydym yn llefaru* : **Yr hyn yw testyn ein llith.**

6. *Eithr* : **o'r tu arall.**

*Un mewn rhyw fan* : Dyma'r unig gyfeiriad gan yr awdwr at unrhyw awdwr dynol i'r HD, a golyga ei ffurf amhenodol, nid fod amheuaeth am awduraeth y Salm, ond ei fod yn dyfynnu geiriau adnabyddus, ac nad oedd person yr awdwr o un pwys neilltuol. (Gwel Adnodiad C).

*A dystiolaethodd* : Fel y gwna tyst mewn llys, yn erbyn y syniad o deyrnas yr angylion, ac o blaid teyrnas dyn (neu y Mab).

Yn y teitl, gelwir Salm 8 yn "Salm Dafydd," ond nid oes i'r teitl unrhyw awdurdod. Dibynna syniadau'r Salm ar Gen. 1[26] 2[7,19,20], ac ar Es. 40-45, a chyfansoddwyd hi yn ddiau ar ol y gaethglud. Ei phwnc ydyw (1) moliannu mawredd a gogoniant Duw fel y'u gwelir yn y greadigaeth, a (2) synnu at yr urddas a osododd Duw ar ddyn, yr hwn a ymddengys mor ddistadl o'i gymharu â'r cread, ond a wisgwyd â gogoniant ac awdurdod uchlaw pob peth crëedig, fel eiddo'r Duwdod ei hunan. Llethir meddwl dyn yn aml gan y teimlad o'i fychander ei hunan mewn cymhariaeth i eangder a nerth a gogoniant y byd materol. Teimlad cyfarwydd i'r oes wyddonol bresennol yw hwn, ac nid yw yn hawdd codi gyda'r Salmydd i weled mawredd dyn, oblegyd gorwedd hwnnw yng nghuddle ei fywyd ysprydol.

beth yw dyn, i ti feddwl am dano? neu fab dyn, i ti ymweled âg ef?

---

Dyfynna awdwr He adn. 4-6, gan roddi iddynt ystyr ychydig yn wahanol i'r gwreiddiol. Rhyfeddu wnai'r Salmydd at fawredd dyn er distadled ei ymddangosiad, ond yn He pwysleisir ei ddarostyngiad yn ogystal a'i fawredd. Nid oedd golwg y Salm yn wreiddiol ar berson y Messiah, ond cân o fawrygiad ar urddas dyn yn gyffredinol oedd hi. Nid ymddengys ychwaith fod yr Iddewon wedi rhoddi i'r Salm hon ystyr Fessianaidd. Ond cymhwyswyd hi at Iesu Grist gan Paul (1 Cor. 15[27]; Eph. 1[22]). Gwahaniaetha esbonwyr yn eu barnau am yr ystyr roddir i'r geiriau a ddyfynnir yn He yn adn. 6-8. Deil rhai mai at ddyn y mae'r cyfeiriad, oblegyd nas gallai'r awdwr synnu fod Duw yn *meddwl* am ei Fab, ac mai yn adn. 9 y dygir Crist i fewn gyntaf mewn gwrthgyferbyniad i ddyn. O'r tu arall dadleuir fod rhai o osodiadau adn. 6-8 yn rhy urddasol i'w priodoli i ddyn, ac fod yr holl ddesgrifiad yn cario ymlaen ddysgeidiaeth yr awdwr am deyrnas y Mab. Ond pa angen gwahanu'r ddau ystyr sydd? Prif bwnc yr awdwr yw cymhwyster Iesu Grist yn anad neb i fod yn Waredwr, ac un agwedd ar ei gymhwyster yw ei berthynas â dynion. Gwelai yng ngeiriau'r Salmydd ddesgrifiad o ddwy ystad dyn, ei ddarostyngiad presennol a'i ogoniant dyfodol; ond gwelai hefyd mai ym mherson Crist yn unig y deuai dyn i'w ogoniant, ac na ddeuai heb i Grist yn gyntaf gyfranogi o'i ddarostyngiad ef. Dynoliaeth oedd ym meddwl y Salmydd, ac nid yw o fawr bwys pa un a dybiai awdwr He fod y Salmydd yn golygu'r Messiah, neu ynte ai derbyn esboniad Paul ar y geiriau a wnaeth, neu eto roddi iddynt yr esboniad hwn ei hunan, oblegyd ei syniad ef yw fod dynoliaeth i gyfranogi o ogoniant Crist, trwy iddo Ef gyfranogi yn ei darostyngiad hi. Gall fod yr awdwr fel hyn yn bwriadu cwrdd â dau anhawster ym meddyliau ei ddarllenwyr. (*a*) Yr oedd darostyngiad Crist "i'r Iddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb," ond dyma ysgrythyr yn dangos fod dynoliaeth gyfan trwy ddarostyngiad i gyrraedd gogoniant; a pha fodd y gallai oddieithr i

7 Ti a'i gwnaethost ef ychydig îs na'r angelion ; â gogoniant ac

---

Dywysog iachawdwriaeth ddod lawr ati i'w harwain i fyny. (*b*) Eglur yw fod digalondid wedi meddiannu'r "Hebreaid," gan gymaint y gorthrwm a'r erlid a ddioddefent fel Cristionogion, ac yr oedd angen eu sicrhau fod Crist a'r saint yn y diwedd i gael goruchafiaeth.

*Pa beth yw dyn?* Cynnygir dau ystyr: (1) Mor fawr yw dyn gan fod Duw yn meddwl am dano ac yn ymweled âg ef! (2) Mor fach yw dyn i Dduw sylwi arno o gwbl! Gorffwysa'r esboniad cyntaf ar y dybiaeth mai'r Messiah oedd ym meddwl y Salmydd, ond cyferbynnu y mae ef fychander dyn yn y greadigaeth weledig, a'r urddas a osododd Duw arno. Y mae'r geiriau Hebraeg am "ddyn" a "mab dyn" yn awgrymu dyn yn ei waeledd a'i iselder daearol. Ond y mae yn fwy eglur fod He yn edrych ar ddyn yn gyntaf yn ei ddarostyngiad islaw'r angylion, ac wedi hynny yn ei ddyrchafiad uwchlaw pob peth.

*Neu fab dyn*: cyfystyr â **dyn.** Nodwedd adnabyddus ar farddoniaeth Hebraeg yw'r gyfatebiaeth, lle y gosodir yr un syniad, neu syniadau cyffelyb, mewn geiriau gwahanol mewn dwy linell gyfochrog.

Pan *feddyliai* Duw am ddyn, y mae wrth hynny yn *ymweled* âg ef.

**7.** *Ti a'i gwnaethost*: Golyga'r Hebraeg yn naturiol fod dyn wedi ei greu yn yr ystad a nodir, ond dynoda'r Groeg yn yr LXX. a He ddarostwng o safle uwch i safle îs.

*Ychydig*: Golyga'r Hebraeg **ychydig mewn graddau,** ond gall y Groeg olygu yn ogystal **dros ychydig amser,** fel ymyl y ddalen. Dewisa llawer yr ail ystyr am y defnyddir y gair drachefn am Iesu Grist (adn. 9), a'i bod yn amhriodol son am raddau ei ddarostyngiad Ef islaw'r adgylion, ar ol y pwyslais a roddwyd ar ei

anrhydedd y coronaist ti ef, ac a'i gosodaist ef ar weithredoedd dy ddwylaw.

---

ragoriaeth, ond anghofia'r esbonwyr hyn fod yr ail ystyr wedi'r cwbl yn cynnwys y gyntaf; os yn îs o gwbl, y mae yn îs mewn graddau.

*Is na'r angylion*: Y gair *Elohîm* sydd yn yr Hebraeg, a gyfieithir yn llyth. "duwiau," ond a ddefnyddir yn yr HD hefyd am "Dduw," a cheir ef rai troion am yr angylion (Salm 82[1] 97[7] 29[1] 138[1]), ac feallai am ddynion (Ex. 21[6] 22[7-8] Salm 82[6]), Defnyddir y gair felly fel enw cyffredin am ddosbarth o fodau urddasol ac aruchel. Ystyr yr holl frawddeg yn yr Hebraeg yw: "Creaist ddyn mor ogoneddus fel nad yw ond ychydig yn îs na'r bodau nefol" (Gen. 1[26]). Ym marddoniaeth y Salm cyfetyb i'r llinell nesaf, ond yn yr LXX. a He parheir yn y frawddeg hon syniad adn. 6: "darostyngaist ddyn i safle ychydig îs na'r angylion," a hwythau ymhell islaw'r Mab yn ei hanfod briodol.

*Gogoniant*: Gwel ar 1[3].

*Anrhydedd*: Y gwerth neu'r urddas naturiol sydd yn disgleirio allan yn y gogoniant, *neu* y parch a delir i'w urddas ar gyfrif y gogoniant gweledig. Perthyna'r *gogoniant* i hanfod y peth ei hunan, ond golyga'r *anrhydedd* werthfawrogiad o hono gan ryw feddwl y tu allan iddo.

*Coronaist*: Yn y Salm golygir fod dyn *fel y mae* o dan goron, ond yn He dyn *fel y mae i fod*, dyn mewn delfryd a bwriad, sydd eto heb eu cyflawni.

*Ac a'i gosodaist ef, &c.* Ni cheir y frawddeg hon yn rhai o'r llawysgrifau goreu, a thybir mai rhyw gopïwr a'i dygodd i fewn o'r LXX. Dylasai'r frawddeg gyntaf yn adn. 8 fod wedi ei hychwanegu at adn. 7.

8. Dysga'r ysgrythyr yn Salm 8 a Gen. 1 fod Duw wedi gosod dyn yn arglwydd y greadigaeth, ac nis gall hynny olygu llai na bod pob peth o dan ei lywodraeth ef, nid yn unig anifeiliaid ac adar a physgod (Salm 8[7-8]), ond holl gylch eang pob peth ond Duw, elfennau natur a galluoedd y byd moesol, gan gynnwys yr angylion, ac

8 Ti a ddarostyngaist bob peth dan ei draed ef. Canys wrth ddarostwng pob peth iddo, ni adawodd efe ddim heb ddarostwng iddo.

---

yn arbennig y byd a ddaw, byd perffaith y delfrydau ysprydol. Ond ymddengys fod profiad yn gwrthddweyd yr ysgrythyr. Nid yw anifeiliaid y maes, na galluoedd natur, nac amgylchiadau bywyd, a llai byth nerthoedd y byd a ddaw, eto o dan lywodraeth dyn. Yn hytrach gorthrymir ef ganddynt hwy. Trinia'r awdwr yn y fan hon gwestiwn caletaf pob athroniaeth a chrefydd, y gagendor rhwng delfryd a phrofiad, rhwng yr addewid a'i chyflawniad, rhwng yr hyn a ddylai fod a'r hyn sydd. Trychineb hanes Israel oedd iddi weled mor glir fwriadau Jehofah, a methu mor druenus eu sylweddoli. Gwelodd Plato mewn delfryd y weriniaeth berffaith, ond methodd a'i gosod mewn ymarferiad mewn un pentref. Maes brwydr gyfartal rhwng goleuni a thywyllwch oedd goreu crefydd Persia. Gwelodd Buddha harddwch rhinwedd, ond cymaint oedd gallu'r trueni, fel y tybiai mai gwell oedd darfod â bywyd, na dilyn lledrith dedwyddwch heb byth orddiwes ei sylwedd. Yn yr eglwys foreuol, cyd-gasglodd holl ffurfiau'r cwestiwn a'r atebion hefyd ym meddyliau'r Gnosticiaid—deuoliaeth, negyddiaeth, delfrydiaeth, angylion, a Iesu Grist yn eu plith, ond yr oedd yr ateb yn rhy lawn o gymysgedd ac anhawsterau i fod nac yn wir nac ymarferol. Nid oedd ddim amgen na'r hen aml-dduwiaeth yn ffug-wisgoedd athroniaeth; ac yn lle darostwng y byd i drefn a theyrnasiad yr yspryd, creu annhrefn gwaeth na'r tryblith cyntaf a wnai. Ni chyrhaeddir y "byd a ddaw" ar hyd ysgol angylion Gnosticiaeth. Feallai fod yr awdwr yn dadleu yn erbyn dechreuadau'r gyfundrefn honno. Ond a oes ynte ryw ffordd arall i'w gyraedd ?

(2) *Yr angenrheidrwydd am yr ymgnawdoliad.* 2[9-18]

**9.** Atebiad yr awdwr yw Iesu, wedi dod yn natur dyn, a marw, a'i goroni â choron teyrnas dynoliaeth. Codai'r cwestiwn o'r dyfynniad o Salm 8, a'r adn. hon yw yr atebiad, ac er fod ei rediad yn glir, y mae rhai o'i bwyntiau yn dra dyrys i'w deall.

9 Eithr yr ydym ni yn gweled Iesu, yr hwn a wnaed ychydig yn îs na'r angelion, oherwydd dioddef marwolaeth, wedi ei goroni â

---

*Eithr yr ydym, &c.*: Yn hytrach, "**Ond yr ydym ni yn canfod** [neu **edrych ar**] **yr hwn a wnaed ychydig yn is na'r angylion, Iesu**;" nid y gair a gyfieithir "gweled" yn adn. 8 sydd yma, ond un a ddyno la yn fwy pendant y *weithred* o edrych. Dyma'r esboniad llawn ar Salm 8. Yn ei ymgnawdoliad daeth Iesu yn gyfrannog o ddarostyngiad dyn, fel y deuai dyn yn gyfrannog o'i deyrnas yntau.

*Oherwydd dioddef marwolaeth*: **oblegyd dioddefaint marwolaeth.** Nid marw yn unig, ond marw gyda dioddefaint. Ni chaniata trefn y geiriau yn y Groeg gysylltu'r frawddeg â'r un flaenorol, fel pe dywedai fod Iesu wedi ei ddarostwng am iddo farw; yr oedd ei ymgnawdoliad yn unig yn ei ddwyn yn îs na'r angylion.

*Wedi ei goroni*: Allwedd esboniad yr adnod yw yr atebiad i'r cwestiwn: Pa bryd y coronwyd Iesu? Yr anhawster yw y saif y frawddeg yn y canol rhwng dau gyfeiriad at ei farwolaeth. Ymranna'r atebion i ddau ddosbarth :—

(1) Cyn ei farwolaeth; (*a*) cyn ei ymgnawdoliad; "wedi ei goroni . . . . er mwyn dioddef marwolaeth fel . . . . y gallai brofi marwolaeth dros bob dyn" (Rendall). (*b*) Yn ei ymgnawdcliad, pan gydnabyddodd Duw ef yn Fessiah yn ei fedydd a'i weddnewidiad; ei ymostyngiad oedd ei ogoniant; wrth ddod i lawr yr enillodd ac y cafodd ei goron (Hofmann, Bruce, Matheson, Milligan, a Dods).

(2) Yn ei esgyniad i ddeheulaw Duw: "Oblegyd dioddefaint marwolaeth, wedi ei goroni . . . . fel . . . . y profai flas marwolaeth dros bob dyn" (Edwards, Westcott, Davidson, Von Soden a'r mwyafrif). Y prif wrthwynebiad i'r esboniad diweddaf yw fod y frawddeg "fel y profai farwolaeth" yn dilyn, ac yn naturiol yn dibynnu ar y coroni, ac felly, yn ol yr esboniad hwn, ar ei esgyniad hefyd. Ond nid oes synwyr mewn dweyd

gogoniant ac anrhydedd ; fel trwy ras Duw y profai efe farwolaeth dros bob dyn.

---

iddo esgyn er mwyn marw. O'r tu arall y syniad hwn sydd fwyaf cydwedd â rhediad meddwl ac ymresymiad yr awdwr. "Wedi puro pechodau" trwy farw "yr eisteddodd ar ddeheulaw'r Mawredd" ($1^{1,13}$). Yn adn. 8 cyfaddefir na welwn ni eto bob peth wedi ei ddarostwng, ond yn adn. 9 dywed y gwelir Iesu wedi ei goroni. Y sicrwydd y daw'r broffwydoliaeth i ben yw fod Iesu trwy ei ddarostyngiad wedi esgyn i'r orsedd. A'r un rhediad meddwl sydd yn adn. 10, mai trwy ddioddefaint y daw'r perffeithio. Cyffelyb yw dysgeidiaeth Paul, wedi i'r Iesu ddarostwng ei hun a marw "Duw a'i tra-dyrchafodd yntau" (Phil. $2^{8-9}$). Ond beth wneir â'r frawddeg olaf o'r adn. ? Gellir ei deall fel yn dibynnu, nid ar y "coroni," ond ar yr oll o'r brawddegau o'i blaen, ac yn dangos mai pwrpas yr ymostyngiad, y marw a'r esgyniad oedd, fel y byddai ei farwolaeth yn rhinweddol dros bob dyn. Nid amcan y frawdddeg yw dweyd ei fod wedi marw; yr oedd hynny wedi ei ddweyd o'r blaen, ond fod ei farwolaeth ar gyfrif ei esgyniad, er lles pob dyn. Yn y nef y mae ei offeiriadaeth yn dod i'w heffeithiolrwydd. Dylid o hyd edrych am gysylltiadau ysprydol yn fwy na threfn amserol yn He. Perthyna marwolaeth Crist, yn ogystal a'i berson a'i ogoniant, i'r pethau tragwyddol uchlaw amser ($7^{24}$).

*Fel trwy râs Duw*: Achos gwreiddiol holl drefn iachawdwriaeth yw grâs Duw tuag at ddyn. Nid yw yn amhosibl synied mai grâs Duw, yn yr ystyr o gariad tuag at Iesu Grist a olygir, yn rhoddi iddo y fraint o fod yn Waredwr.

Ceir darlleniad arall: **Ar wahan i Dduw.** Esbonir y darlleniad hwn naill ai (*a*) fod marwolaeth Crist ar wahan i'w natur ddwyfol, ond nid yw hynny yn wir, ac y mae yn groes i ddysgeidiaeth yr epistol hwn (gwel Adnodiad D) ; neu (*b*) iddo farw heb Dduw, gan i Dduw ei adael (Mt. $27^{46}$) ; nid yw hynny ychwaith yn wir, ac nid oes awgrym o'r fath syniad yn yr epistol hwn ; neu

10 Canys gweddus oedd iddo ef, o herwydd yr hwn *y mae* pob

---

(*c*) iddo farw dros bawb ond Duw; neu (*d*) iddo farw i gael awdurdod dros bawb ond Duw; ond y mae'r ddau beth hyn mor eglur fel na byddai eisiau eu dweyd. Camgymeriad copïwr yw'r darlleniad; y mae'r ddwy frawddeg yn lled debyg o ran ffurf yn y Groeg.

*Y profai farwolaeth*: **Y profai flas marwolaeth.** Ymadrodd figyrol am farw, wedi dod feallai o'r arferiad o ddienyddio trwy roddi gwenwyn i'w yfed, fel y gwnaed â Socrates. Nid yw yn golygu mai marw'n brin a wnaeth Iesu, fel y tybiai'r tadau Groegaidd, nac ychwaith iddo farw mwy nag eraill fel y mynn rhai esbonwyr diweddar.

*Dros*: **Ar ran,** neu **er budd;** nid "yn lle." Ond nid oes cymaint o wahaniaeth rhwng y ddau air "ar ran" ac "yn lle" ag a dybir yn gyffredin. Os bu Crist farw *ar ran* dyn i sicrhau iddo rywbeth nas gallasai heb hynny ei gael, neu i'w waredu rhag rhywbeth nas gallasai yn un ffordd arall ei osgoi, yr oedd mor bell yn cymeryd lle dyn mewn dioddefaint.

*Bob dyn*—yn unigol a phersonol.

**10.** *Canys gweddus oedd iddo Ef*: A yr awdwr yn ei flaen i ddatblygu, egluro ac amddiffyn y syniad o achub trwy ddioddef. Peth anweddus, tramgwydd, a ffolineb i'r "Hebreaid" oedd Messiah yn dioddef, a mwy anweddus oedd cysylltu'r syniad o ddioddef â Duw. I'r meddwl Iddewig a Groegaidd, yr oedd Duw mor bell uchlaw'r byd fel nas gallai dioddefaint ddal un berthynas ag ef. Cymaint fu dylanwad y syniad hwn ar feddwl yr eglwys fel mai gydag anhawster y caniata pobl eto fod Duwdod Crist yn gyfrannog yn ei ddioddefaint. *Gweddus*, sef cydwedd a chyson, nid yn unig â gras achubol Duw, ond â holl gylch ei weithrediad fel Crewr a Chynhaliwr pob peth. Nid â yr awdwr yn ddyfnach na hyn i'r achos yn natur Duw am farwolaeth iawnol Crist. Nid ymhola a oedd cyfiawnder, neu ddigofaint, neu anrhydedd, neu gariad Duw yn gofyn

peth, a thrwy yr hwn *y mae* pob peth, wedi *iddo* ddwyn meibion

---

Iawn. Digon ganddo yw dweyd fod achub dynion trwy ddioddefaint Crist yn gyson â Duw, ac yn gweddu iddo; ac ni cheisia brofi yr addaster, ond fel y daw i'r golwg yn natblygiad person Crist yn ei berthynas â dynion.

*O herwydd, &c.*: Duw yw achos terfynol ac effeithiol y byd. Efe yw amcan, deddf a Chrewr y cyfanfyd. Cysylltir y syniadau hyn yn amlach â Iesu Grist (gwel ar 1[2]). Dygir y geiriau i fewn yma i ddangos fod achub trwy farwolaeth yn gyson â Duw yn ei fawredd a'i ogoniant pennaf.

*Wedi iddo ddwyn*: Goddefa'r Groeg y cyfieithad a rydd y mwyafrif o esbonwyr: **pan yn dwyn** neu **wrth ddwyn.** Os derbynnir y Cyf. Cym., cyfeiriad sydd yma at y seintiau a ddygwyd i ogoniant dan yr HD (cf. Rhuf. 3[25]). Ond nid yw golwg yr awdwr mor gyfyng. Gall o bosibl olygu fod bwriad achubol Duw (sef dwyn meibion lawer i ogoniant) yn myned o flaen dewisiad y moddion i'w gyflawni. Ond prin y daw'r meddwl hwn yn naturiol allan o'r geiriau. Ac unwaith eto rhaid dweyd nad olyniaeth amseryddol a olygir, ond cysylltiadau ffeithiau ysprydol. Yng nghylch meddyliau a gweithrediadau Duw, nid oes "o flaen" ac "ar ol" mewn ystyr amseryddol, ond defnyddir hwy yn unig i egluro cysylltiadau ysprydol. Gosod ochr yn ochr a wneir yma ddwy ffaith anwahanadwy yn nhrefn grâs. Y peth sydd weddus neu gymwys yw fod Duw wrth ddwyn meibion lawer i ogoniant yn gwneud hynny trwy Waredwr wedi ei berffeithio yn ei gyfranogiad o'u natur a'u profiad hwy.

*Meibion lawer i ogoniant*: *Llawer* mewn gwrthgyferbyniad i'r *un* Mab. Ni fanyla'r awdwr ar y nifer, ac ni fwriada awgrymu yr achubir rhai tra y gadewir eraill. Crewyd dynion yn *feibion* Duw, ond trwy Iesu Grist y dygir hwy i *ogoniant*, sef i'r safle yr aethai y Mab ei hunan iddi (1[3] 2[7]).

lawer i ogoniant, berffeithio Tywysog eu hiachawdwriaeth hwy trwy ddioddefiadau.

---

*Perffeithio*: Ystyr gyffredinol y gair yw "gorffen," "dwyn i derfyniad," "cyflawni'r amcan," "cyrraedd y nôd," a dibynna ei ystyr arbennig mewn unrhyw fan ar y terfyn, neu'r nôd, neu'r amcan mewn golwg. Ceir ef am orffen gyrfa (Act. 20[24]), gorffen gwaith (Ioan 4[34] 5[36]), cyflawni'r ysgrythyr (Ioan 19[28]), cyrraedd nôd bywyd yng Nghrist (Phil. 3[12]), a pherffeithio cymdeithas yn undeb cariad (Ioan 17[23]). Mae'r gair yn nodweddiadol o He. Gwelai ef o hyd gwrs y byd a rhediad bywyd yn ymestyn at ryw nôd neu ddelfryd terfynol oedd i'w sylweddoli ganddynt. Meddylia felly am wybodaeth grefyddol (5[14] 6[1]), am ffydd (12[2]), am y credinwyr (10[14] 11[40] 12[23]), am y tabernacl (9[11]) a'r offeiriadaeth (7[11]), ac am Grist (5[9] 7[28]). Y nôd neu'r ddelfryd a osodir i Grist yma yw bod yn Waredwr dynion (Adnodiad E). Nid ei gymeriad moesol fel y cyfryw sydd mewn golwg, ond ei gymhwyster i fod yn Waredwr, er yn ddiau fod y naill yn cynnwys y llall. Er fod Crist yn ddifai ym mhob moment o'i fywyd, nis gallasai o fewn terfynau amser sylweddoli delfryd y daioni (Marc 10[18]), a llai fyth ddelfryd y Gwaredwr. Dim ond trwy gwrs o ddioddefiadau yn gorffen mewn goruchafiaeth lwyr ar bechod ac angeu, ac mewn esgyniad i'w orsedd, y daethai Efe i feddu holl gymhwysterau Gwaredwr. Canys felly y daethai i undeb â dynion, i gyfranogi o'u natur, i ymladd eu brwydrau âg angeu a'r diafol, ac i allu cydymdeimlo â hwynt a thosturio wrthynt (adn. 14-18). Sylwer mai Duw yw awdwr y perffeithio. Efe ddygodd Grist i'w ddarostyngiad a'i ddioddefiadau, ac yr oedd cyd-darawiad hollol rhwng perffeithrwydd Gwaredwr yng Nghrist â pherffeithrwydd grâs achubol yn Nuw.

*Tywysog*: Arweinydd megis Moses a Joshua. Cyfieitha'r C.S.D. ac eraill "awdwr," ac y mae hynny yn gynhwysedig yn y gair, ond fe olyga fwy, sef fod Duw wrth ddwyn "meibion lawer i ogoniant" yn gosod Crist i gerdded o'u blaen hwynt, nid fel esiampl foesol

11 Canys yr hwn sydd yn sancteiddio, a'r rhai a sancteiddir, o'r un *y maent* oll. Am ba achos nid yw gywilyddus ganddo eu galw hwy yn frodyr !

---

ychwaith, ond fel y cadfridog, sydd yn cyfuno'r fyddin ynddo'i hunan, yn dioddef ei chaledi, yn ymladd ei brwydrau, ac yn ennill ei buddugoliaethau.

*Trwy ddioddefiadau* : Nid ei angeu yn unig, ond pob peth a ddioddefodd, o fudiad cyntaf yr ymwaghâd yn yr hanfod dragwyddol, hyd at ei esgyniad i'w orsedd, â dynoliaeth yn ei berson.

**11.** *Canys* : Yn dangos fod adn. 11 yn dechreu eglurhad pellach ar waith y Gwaredwr a'i amodau, fel y'u darnodwyd yn adn. 10. Gweddus oedd i Grist ddioddef er achub dynion, oblegyd mai ei frodyr Ef oeddynt.

*Yr hwn sydd yn sancteiddio*, sef Crist. Nid yw y TN yn tynnu llinell wahaniaethol bendant rhwng gwaith Crist ag eiddo'r Yspryd Glân, fel y gwneir mewn systemau diwinyddol. Ond sylwer hefyd y defnyddir y gair "santeiddio" yn He mewn ystyr dra gwahanol i eiddo Paul a diwinyddiaeth ddiweddarach. Ynddynt hwy golygir yn gyffredin wrth "santeiddio" waith graddol yr Yspryd Glân ar yspryd dyn yn ei lanhau oddiwrth weithredoedd a thueddiadau pechadurus. Ond ystyr wreiddiol y gair yn yr HD oedd neilltuo neu gyflwyno i wasanaeth Duw. Nid oedd iddo o angenrheidrwydd unrhyw ystyr foesol. Sonir am santeiddio neu gysegru pethau meirw, megis tir, tai a dodrefn (Gen. 2[3] Ex. 29[6,37,44] Lef. 8[30] 27[14-20]). A defnyddir y gair am ddynion oedd ynglyn â gwasanaeth y tabernacl neu'r deml, heb ei fod yn tybied unrhyw nodweddion moesol ynddynt. Wedi i'r proffwydi ddysgu fod gwasanaeth Duw a bywyd moesol yn gyfystyr (Mic. 6[8]) y daeth y gair "santaidd" i feddu ystyr foesol. Defnyddir y gair yn He droion yn ei ystyr seremonïol (9[13] 10[10,29] 13[12]), ond nis anghofia'r awdwr fod neilltuo dyn i Dduw yn golygu bywyd pur. Er hynny, y peth amlycaf yn ei feddwl yw y weithred o neilltuo neu gyflwyno dyn i Dduw unwaith

12 Gan ddywedyd, Myfi a fynegaf dy enw di i'm brodyr; y'nghanol yr eglwys y'th folaf di.

---

am byth; felly golyga "santeiddio" yn He yn agos yr un peth a "chyfiawnhau" yn Paul.

*O'r un y maent oll*: llyth. **o'r un oll.** Gall olygu "o'r un natur," neu "o'r un teulu," ond dengys y gair "brodyr" yn adn. 11 a 12 mai "o'r un tad" sydd gywir, sef o Dduw. Deil rhai esbonwyr mai Adda, ac eraill mai Abraham (gwel adn. 16), a olygir wrth "yr un tad," ond y mae'r cyntaf yn rhy eang a'r ail yn rhy gyfyng i gynnwys "y rhai a santeiddir." Yr un rhai yw "meibion Duw" yn adn. 10 a "brodyr" yn yr adnodau dilynol. O Dduw y deillia'r frawdoliaeth sydd yn gwneud Crist a'r saint yn un. Nid amhosibl esboniad arall sydd yn cymeryd y frawddeg i olygu yn unig unoliaeth Crist a'r saint, heb un cyfeiriad at eu deilliad. "Y Santeiddiwr a'r santeiddiedig oll yn un." Yn yr "oll" gosodir Crist a'r saint megis mewn un dosbarth. Ni ddylid cyfyngu'r frawdoliaeth i ddynoliaeth Crist yn unig, oblegyd un person yw Efe, a brawd dyn yn ei bersonoliaeth gyflawn. Yn wir y mae ei berthynas frawdol â dynion yn rhagflaenu ei ymgnawdoliad, ac er mwyn ei pherffeithio hi y daeth Efe yn y cnawd (gwel adn. 14).

*Am ba achos*: Gan ei fod Ef a hwythau o'r un Tad. **Nid oes arno gywilydd** i'w harddel yn frodyr, er mor bell oddiwrtho y maent mewn safle a chymeriad, yn eu pechod a'u trueni.

**12.** I brofi'r frawdoliaeth, ac fod Crist yn ei harddel, dyfynnir Salm 22[22]. Yr adn. gyntaf o'r Salm hon ddyfynnodd Crist ar y groes, "Fy Nuw, Fy Nuw, &c." Yn ol ei arfer, cymer yr awdwr frawddegau allan o'u cysylltiadau gwreiddiol a chymhwysa hwynt i'w amcan presennol. Aiff mor bell a'u gosod yng ngenau Crist ei hunan, naill ai am yr ystyriai y Crist tragwyddol yn ddisgleirdeb gogoniant Duw, ac yn egwyddor pob datguddiad, neu, yn fwy tebygol, am yr ystyriai yr oll o'r HD yn gysgod o Grist, a phob brawddeg o hono felly yn briodol i'w chymhwyso ato. Yn Salm 22, fel yn

13 A thrachefn, Myfi a fyddaf yn ymddiried ynddo. A thrachefn, Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi.

---

Es. 53, gosodir allan brofiad "gwas yr Arglwydd" o dan orthrymder ei elynion. Anawdd penderfynnu pa un a olygir wrth "was yr Arglwydd," ai cenedl Israel oll, neu'r bobl dduwiol yn Israel, neu ryw un person, megis Jeremiah. Yn yr adnodau a ddyfynnir, try'r Salmydd oddiwrth gwyno am ei ddioddefaint i ddatgan ei ymddiried yn Nuw, a'i ffyddlondeb iddo. Amcan ei dyfynniad yn He yw dangos (1) fod Crist yn galw dynion yn frodyr iddo, fel y galwai'r salmydd ei gyd-genedl; (2) ei fod yn cymeryd safle brawd yn eu plith, trwy uno â hwy mewn addoliad, ac (3) ei fod yn gwneud gwasanaeth brawd iddynt trwy fynegi iddynt enw Duw.

*Dy enw*: Holl bersonoliaeth ddatguddiedig Duw. (Gwel ar 1[4]).

*Yr eglwys*: **Y gynulleidfa.**

**13.** Dyfynnir o Es. $8^{17-18}$ yn ol yr LXX., lle y mae'r ddwy frawddeg yn olynol. Gwahenir hwy yn He â'r geiriau *a thrachefn*, am fod yr awdwr am ddwyn allan ddau wirionedd. Datganai'r proffwyd ei ymddiriedaeth ef ei hunan yn yr Arglwydd, a'i ffyddlondeb ef a'i deulu iddo yng nghanol anghrediniaeth y lliaws.

*Myfi a fyddaf yn ymddiried ynddo*: **Myfi a ymddiriedaf ynddo.** Hebraeg, "mi a wyliaf (neu a edrychaf) am dano." Feallai mai pwynt y dyfynniad yn He yw fod Crist wrth ymddiried yn Nuw yn gosod ei hunan ar yr un tir a dynion, ei frodyr.

*Wele fi a'r plant, &c.*: Dywed Es. ei fod ef a'i blant "yn arwyddion ac yn rhyfeddodau yn Israel oddiwrth Arglwydd y lluoedd" ($8^{18}$). Enwau plant Es. oeddynt Shear-jashub, "gweddill a ddychwel" a Maher-shalal-hash-baz, "brysia'r yspail, prysura'r anrhaith." Defnyddir y geiriau mewn ystyr wahanol yn He, sef fod Crist yn dwyn plant Duw gydag ef fel ei frodyr, at ei Dad Ef a'u Tad hwythau. Yn ol ystyr wreiddiol a rhediad naturiol y geiriau, plant Crist fyddent, ond y mae'r syniad yn un dieithr a chroes i ymresymiad yr awdwr. Brodyr Crist ydynt.

14 Oblegyd hynny, gan fod y plant yn gyfrannogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfrannog o'r un *pethau;* fel

---

14. *Oblegyd hynny*: Casgla'r awdwr ei holl ymresymiad yn awr i bwynt yn ymgnawdoliad a marwolaeth Crist. Oblegyd fod dyn wedi ei wneud i deyrnasu (adn. 6-8), ac mai trwy farwolaeth Crist y deuai i'w deyrnas (9), ac y gweddai i Dduw berffeithio Tywysog ei iachawdwriaeth ef trwy ddioddefaint (10), ac fod Crist yn hanfodol yn frawd i ddyn (11-13), gofynnol oedd iddo gan hynny gyfranogi o natur ac amgylchiadau dyn, fel y gallai ei arwain o gaethiwed marwolaeth i'w ryddid a'i deyrnas. Nid yr ymgnawdoliad oedd dechreu na hanfod brawdoliaeth Crist â dynion, ac yn ei farwolaeth y daeth ei sylweddoliad i'w derfyn a'i amcan, oblegyd felly y gwaredai efe ddynion.

*Y plant*, sef plant Duw a brodyr Crist fel yn yr adn. flaenorol.

*Yn gyfrannogion*: *A fu gyfrannog*. Ceir dau air gwahanol yn y Groeg, ond y mae eu hystyr mor agos i fod yr un fel y gellir eu cyfieithu yn ddigon cywir â'r un gair "cyfranogi." Ond y mae eu hamser gramadegol yn wahanol, ac yn awgrymu dau ddull o gyfranogi. Buasai dynion erioed yn gyd-gyfrannogion o gig a gwaed, ond dod yn gyfrannog o honynt ar amser penodol a gorffenedig, unwaith am byth, a wnaeth Crist yn ei ymgnawdoliad.

*O gig a gwaed*: Gwell **o gnawd a gwaed**, neu yn ol y llawysgrifau goreu **gwaed a chnawd**, fel yn Eph. 6[12]; ond y drefn "cnawd a gwaed" sydd fwyaf cyffredin yn y TN (Mt. 16[17] 1 Cor. 15[50] Gal. 1[16]). Dynoda'r frawddeg natur ddynol ar ei hochr faterol, synhwyrol a marwol, ac y mae yn gyfystyr â'r gair "cnawd" yn yr HD.

*Yr un modd*: Yr oedd dynoliaeth Crist mor wirioneddol ag eiddo'i frodyr.

*Fel trwy farwolaeth*: Nid cywir fyddai cyfieithu "trwy ei farwolaeth," oblegyd golyga fwy na bod Crist wedi marw er gorchfygu diafol. Y syniad yw fod Crist

trwy farwolaeth y dinystriai efe yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo, hynny yw, diafol;

---

wedi dod i'r fro lle y teyrnasai marwolaeth—bro gwaed a chnawd—fel y gallai gymeryd gafael ar farwolaeth megis offeryn neu allu arbennig i'w ddefnyddio i orchfygu gormeswr ei frodyr. Gorchfygodd Crist ddiafol trwy y cyfrwng a ddefnyddiai diafol i ormesu dynion, sef marwolaeth.

*Dinystriai*: Gwneud yn ddi-allu. Cyfieithir yr un gair hefyd dirymu (Rhuf. 3[31]), dileu (1 Cor. 15[24]), difetha (2 Thess. 2[8]), a diddymu (2 Tim. 1[10]).

*Yr hwn oedd a nerth marwolaeth ganddo*, sef yr hwn y mae awdurdod teyrnas marwolaeth yn ei feddiant. Fel y teyrnasa brenin dros wlad, teyrnasa diafol ym mro marwolaeth. Rhoddodd Duw yn nwylaw Satan y gallu i beri marwolaeth plant Job (Job 1[19]), ond gwrthododd iddo hawl dros hoedl Job ei hunan (2[6]). Soniai'r Iddewon yn ddiweddarach am Sammael, angel marwolaeth, a'r un oedd hwnw a Satan. Nis gellir penderfynnu a oedd cyfeiriad at syniad o'r fath ym meddwl yr awdwr yma, neu feallai y golygai fod diafol wrth arwain dynion i bechod yn eu harwain hefyd i farwolaeth, oblegyd "cyflog pechod yw marwolaeth." Diau y buasai marwolaeth naturiol pe na buasai bechod, ond pechod sydd wedi gwneud marwolaeth yn ddu a dychrynllyd, ac wedi rhoddi iddo ei golyn.

*Diafol*: Y camgyhuddwr. Defnyddir y gair yn aml am y gair Hebraeg Satan, pennaeth teyrnas y drygioni (Gwel Adnodiad B).

15. *Gwaredai*: **Rhyddhâi.**

*Y rhai . . . oeddynt*: **Cynifer ag oeddynt**: h.y., pawb.

*Trwy ofn marwolaeth . . . . dan gaethiwed*: Ffaith amlwg iawn yn yr HD yw dychryn rhag marwolaeth hyd yn oed yn y saint. Gwelir yr un peth fel rheol mewn llenyddiaeth baganaidd, ond rhydd Plato yn hanes

15 Ac y gwaredai hwynt, y rhai trwy ofn marwolaeth oeddynt dros eu holl fywyd dan gaethiwed.

---

marwolaeth Socrates ddarlun o bagan oedd, trwy garu rhinwedd ac ymddiried yn Nuw, wedi codi uchlaw ofn angeu. Cawsai athronwyr Groeg olwg fwy clir ar anfarwoldeb yr enaid na phroffwydi Israel. Yn y TN ac yn hanes yr Eglwys Gristionogol, ceir cannoedd o enghreifftiau o ddynion a edrychent ar angeu fel cyfaill i'w harwain gartref at eu Tad. Cytunasai prinder datguddiad yr HD am anfarwoldeb ac euogrwydd am bechod i greu ofn marwolaeth, ac yr oedd yr ofn fel carchar yn cau dynion allan o bob gobaith am y dyfodol y tu hwnt i'r bedd, ac felly hefyd yn cyfyngu ar fwynhad eu bywyd yn y byd hwn. Caethiwed yw pob prinder a thlodi bywyd. Ni ddywed yr awdwr *sut* yr oedd Crist trwy farwolaeth yn gwaredu dynion o allu diafol ac ofn marwolaeth. Tybiai'r Tadau Groegaidd iddo trwy roddi ei hunan yn bridwerth i'r diafol ennill gollyngdod i ddynion o'i afael. Dywed eraill mai trwy farw yn Iawn i Dduw dros bechod y dinystriodd Crist allu diafol a phechod ac ofn marwolaeth. Ond nid yw yn debyg fod y naill syniad na'r llall yn bresennol i feddwl yr awdwr yn y fan hon. Daeth Iesu Grist i fro marwolaeth lle yr oedd diafol yn twyllo a dychrynu, yn cyhuddo a gormesu dynion (Zech. 3[1]), a cherddodd trwyddo heb bechu na phlygu i'r diafol, heb brofi euogrwydd nac ofn. Dinystriodd felly honiadau'r gormeswr; methodd diafol ddychrynu'r Iesu, a thorrwyd felly y swyngyfaredd trwy yr hon yr arferai ddychrynu dynion. Danghosodd Iesu mai Efe oedd brenin bro marwolaeth, a gall dynion felly wynebu angeu heb ofn na chaethiwed, oblegyd Tywysog iachawdwriaeth sydd yn teyrnasu yno hefyd (1 Cor. 15[55-57] 2 Tim. 1[10]).

**16.** Cyfieithir "**Oblegyd fel y gwyddom oll, nid mewn angylion y cymer efe afael, ond yn had Abraham y cymer efe afael.**" (Gwel ymyl y ddalen a'r C.S.D.) Dilyna'r Cyf. Cym. a'r C.S.A. esboniad y Tadau Groegaidd a Lladinaidd, a thybient hwy mai mynegi *ffaith* yr

16 Canys ni chymmerodd efe *naturiaeth* angelion; eithr hâd Abraham a gymmerodd efe.

---

ymgnawdoliad a wna'r awdwr yn yr adn., ond gwnaethai hynny yn adn. 14, ac y mae'n ddigon eglur yn y Groeg mai mynegi *amcan* yr ymgnawdoliad a wna yma, sef gafaelu mewn dynion, yn hytrach nag angylion, i'w cynorthwyo a'u gwaredu. Ceir yr un gair (yn 8[9]) am Dduw yn ymaflyd yn llaw Israel i'w dwyn allan o'r Aifft.

**Nid mewn angylion.** Adgof o bosibl o adn. 5, neu feallai fod y cyfeiriad at y diafol wedi adgofio'r awdwr o'r syniad fod angylion syrthiedig yn sefyll mewn angen am eu gwaredu; ond nid oeddynt hwy yn farwol fel dynion, na than ofn marwolaeth yn yr un modd, a phe cymerasai yr Iesu afael ynddynt hwy, ni buasai raid iddo gyfranogi o waed a chnawd. Ofer hollol yw yr ymholiad a gwyd rhai esbonwyr yn y fan hon, paham nad achubir angylion syrthiedig, oblegyd ni ddywed yr awdwr na'r ysgrythyr nad achubir hwynt. Ceir yn wir gan Paul awgrymiadau y cyd-grynhoir pob peth yn y diwedd yng Nghrist (Eph. 1[10] Phil. 2[10] Col. 1[20]). Ond y pwynt yn y fan hon yw mai i waredu dynion y daeth Iesu Grist i'r byd.

*Hâd Abraham*: Braidd yn rhyfedd yw fod yr awdwr yn cyfyngu yr amcan fel yr awgryma'r frawddeg hon, ac esbonia rhai hi mewn ystyr ysprydol, am y gwir Israel, y rhai sydd o ffydd ac yspryd Abraham; ond nid son am rai wedi eu gwaredu a wneir, eithr am rai eisiau eu gwaredu, am ddynion mewn pechod ac o dan ofn marwolaeth. Gwell esboniad yw fod yr awdwr wrth ysgrifennu at Iddewon yn defnyddio brawddeg oedd yn dwyn Iesu Grist yn agos iawn atynt hwy, fel dynion dan ofn marwolaeth. Er fod syniadau sylfaenol ac yspryd He mor eangfrydig ag eiddo Paul, y mae ei amcan ymarferol o ddelio âg Iddewon yn cadw ffurf ei ymresymiad o fewn cylch Iddewig (cf. Mt. 10[6] a 15[24]. Gwel Rhagarweiniad IV).

17 Am ba achos y dylai efe ym mhob peth fod yn gyffelyb i'w frodyr ; fel y byddai drugarog ac Arch-offeiriad ffyddlawn, mewn

---

**17.** *Am ba achos*: Oblegyd mai i waredu dynion y daethai Efe. *Dylai*: fel yr oedd yn weddus i Dduw (adn. 8), yr oedd angenrhaid foesol ar Grist, wedi iddo ymgymeryd â gwaredu dynion, i gymhwyso ei hun i'r gwaith.

*Ym mhob peth i fod yn gyffelyb*: **Ym mhob peth ymdebygu.** Ail-adroddir gyda manylion mwy yr hyn a ddywedwyd o'r blaen (adn. 14) er ffurfio cysylltiad o'r diwedd rhwng ymgnawdoliad Crist â phrif bwnc yr epistol, sef ei offeiriadaeth. Ni byddai ystyr mewn cymeryd natur dyn heb gyfranogi hefyd o hanfodion ei brofiad,—poen, temtasiwn a marwolaeth. Yn 4[15] gwneir un eithriad oddiwrth *bob peth*, "eto heb bechod."

*Fel y byddai*: Yn hytrach, **Fel y deuai.** Er fod Crist yn offeiriad tragwyddol, gwel yr awdwr ei offeiriadaeth yn cael ei chyflawni yn y byd mewn cwrs o waith a dioddefaint.

*Drugarog ac Arch-offeiriad ffyddlawn*: Gwell yw **Arch-offeiriad trugarog a ffyddlawn.** Dyma'r awdwr yn awr wedi nodi prif destyn ei lith, ond daw eto nifer o faterion rhagarweiniol i fyny cyn dechreu ymdrin âg Ef yn 4[14]. *Trugarog*, neu yn hytrach **tosturiol** tuag at ddyn. Pwysleisia'r awdwr droion mai elfen hanfodol mewn offeiriad yw cydymdeimlad (4[15] 5[2,7-9]); nis gall gynrychioli dyn ger bron Duw, na dadleu ei achos yn iawn os na ddealla efe safle dyn, maint ei anhawsterau, a grym ei demtasiynau ; ac ni ddealla os na esyd ei hun yn safbwynt profiad a theimlad dyn. Cyffelyb brofiad sy'n cynhyrchu cydymdeimlad, a chydymdeimlad y cryf a'r gwan yw tosturi, a gwna tosturi ei berchen yn offeiriad, oblegyd fe'i gyrr i gyfryngu rhwng y gwan a'r neb a all ei achub. *Ffyddlawn*, tuag at ddyn medd rhai, tuag at Dduw medd eraill, ond cynhwysa'r naill y llall, ac y mae'r ddau yn anhebgorol mewn offeiriad. Hawlia dyn a Duw iddo gynrychioli'r naill i'r llall yn gywir.

pethau *yn perthyn* i Dduw, i wneuthur cymmod dros bechodau y bobl.

---

Dweyd y gwir am ddyn wrth Dduw ac am Dduw wrth ddyn yw gwaith offeiriad, ac nis gall wneud hynny heb feddu ynddo'i hunan safbwynt pob un o'r ddau, a bod yn ffyddlon iddynt.

*Mewn pethau yn perthyn i Dduw*: **Yn y pethau sydd tuag at Dduw,** sef yn holl berthynas dyn â Duw. Defnyddir y frawddeg am Moses yn Ex. 4[16] LXX.

*I wneuthur cymmod dros bechodau*: llyth. **i gymodi pechodau.** Dyma amcan uniongyrchol ei offeiriadaeth. Anawdd taro ar air Cymraeg sydd yn ateb yn gywir i'r gair a gyfieithir "cymodi." Golygai yn wreiddiol "wneud yn ffafriol" neu "heddychu." Defnyddid ef yn y crefyddau paganaidd am ennill ffafr y duw trwy rodd neu aberth iddo, ond ni ddefnyddir y gair yn yr ystyr hon yn y Beibl. Ceir ef yn ei ffurf oddefol yn Luc 18[13], "bydd drugarog." Yn y fan hon pechod, ac nid Duw, yw ei wrthrych. Cynhyrcha pechod ddigofaint yn Nuw ac euogrwydd mewn dyn, a gwaith Crist fel offeiriad yw trin pechod fel y symuder y naill a'r llall, ac y delo ffafr Duw yn ras yng nghalon dyn. Y mae'r ferf yn yr amser presennol, ac felly yn dynodi fod gwaith y cymodi yn parhau o hyd. Daw'r mater hwn o dan driniaeth fanylach yn yr ail gyfrol.

*Y bobl*: Brawddeg o'r HD yn gyfystyr a "hâd Abraham" (adn. 16).

**18.** *Canys yn gymaint, &c.*: Amheua rhai a ganiata'r Groeg y cyfieithad hwn, a chynhygir amryw eraill. Y ddau bwysicaf o honynt yw:—

(1) **Canys wedi ei demtio yn yr hyn a ddioddefodd,** sef am fod ei ddioddefiadau wedi troi yn demtasiynau, a hynny am fod tuedd ei natur i'w hosgoi, ac fod ewyllys ei Dad iddo eu dioddef, gall gydymdeimlo â'r rhai a demtir. Ond yr oedd temtasiynau Crist a'i allu i gynorthwyo yn ehangach na'i ddioddefiadau (4[15]).

18 Canys yn gymmaint a dioddef o hono ef, gan gael ei demtio, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a demtir.

---

(2) **Canys yn yr hyn a ddioddefodd gan gael ei demtio, efe a ddichon gynorthwyo**, sef fod ei demtasiynau yn ddioddefaint iddo, a'i allu i gynorthwyo gyfled â'i brofiad o demtasiwn. Cyfyngir felly ei allu i gynorthwyo i gylch ei ddioddefaint ei hunan, ond y mae yntau "wedi ei demtio ym mhob peth;" estynai temtiad Crist ar hyd ei oes. Ond mwy boddhaol na'r naill a'r llall o'r cyfieithadau hyn yw y Cyf. Cym., gan ei fod yn cysylltu dioddefaint a themtasiynau Crist â'i gymhwyster i gydymdeimlo a chynorthwyo, a hynny heb gyfyngu ei allu i gynorthwyo i gylch y naill na'r llall. Gall Crist yn ei holl berson gynorthwyo am ei fod wedi dioddef a chael ei demtio. Nid oes ddigon o reswm gramadegol dros wrthod y Cyf. Cym.

Ystyr eangaf y gair a gyfieithir *temtio* yw "profi," i weled a yw peth yn ateb rhyw ddyben mewn golwg, megis profi Duw i weled a oedd efe yn Dduw ($3^9$); profi Abraham a oedd efe yn ufudd ($11^7$), ond golyga hefyd brofi un a wna efe ddrygioni, gan ei gymell i wneud hynny. Yn y fan hon gall olygu yn unig fod dioddefiadau Crist wedi bod yn brawfion ar ei gymeriad yn gyffredinol, ond dengys $4^{15}$ fod yr awdwr yn meddwl hefyd am brawf Crist fel temtiad i bechod. (Gwel Proff. Miall Edwards ar Iago $1^{2 \text{ a } 13}$).

*A ddichon gynorthwyo*. Y sawl a demtiwyd ac a orchfygodd yn unig ŵyr lawn nerth y demtasiwn, ac a fedd gydymdeimlad â'r sawl a demtir, ac a ŵyr hefyd y ffordd i'w arwain i waredigaeth oddiwrthi.

## ADNODIAD D.

## ATHRAWIAETH YR EPISTOL AM BERSON CRIST.

Gorffwysa holl bwys ymresymiad yr epistol ar berson Crist fel Mab Duw. Dyna paham y cymhella'r awdwr yr "Hebreaid" i lynu wrth Gristionogaeth, oblegyd fod Crist fel Mab Duw yn rhagori ar yr angylion, ar Moses, ar Joshua, ac ar Aaron. Y sicrwydd fod iachawdwriaeth trwyddo ef yn wirioneddol a therfynol yw ei fod yn dwyn datguddiad cyflawn Duw i ddyn, ac yn arwain dyn tuhwnt i bob llen, i bresenoldeb Duw ei hunan, oblegyd mai Mab Duw ydyw Ef. Er deall yr epistol y mae o bwys felly, hyd y gellir, casglu i bwynt syniad cyfan yr awdwr am berson Crist. Y mae ei athrawiaeth ar y mater yn hollol arbenigol yn y TN, er nad yw yn anghyson âg eiddo'r ysgrifenwyr eraill. Y mae dau reswm am y gwahaniaeth, sef fod delw athroniaeth Philo yn fwy eglur a digymysg ar ffurfiau ei feddwl, ac mai uchafbwynt ei ddysgeidiaeth yw dangos Crist fel arch-offeiriad. Feallai fod trydydd rheswm yn amgylchiadau arbennig ei ddarllenwyr, a dengys yr amgylchiadau allanol eu hunain yn fwy eglur, oblegyd fod cyfundrefn yr athronydd yn fwy amlwg, a phrofiad personol o Grist yn fwy cudd, yn He nag yn Paul a Ioan. Crist fel hunan-ddatguddiad Duw'r cariad yw prif syniad Ioan, a Christ fel aberth yn gwneud cymod personol rhwng dyn a Duw yw gwirionedd canolog Paul. Y mae'r ddau wirionedd hyn yn He, ond o dan ffurf ac iaith a phwyslais gwahanol. Nid yw ei ddysgeidiaeth am rag-hanfodiad Crist a'i unoliaeth dragwyddol â Duw mor glir a chyflawn. Dibynna fwy ar dermau athronyddol, a llai ar unoliaeth foesol Crist â Duw, i fynegi ei ddwyfoldeb hanfodol. O'r tu arall y mae ei bwyslais yn drymach ar ymostyngiad Crist, ac ar elfennau hanfodol ei ddynoliaeth. Tuedd dylanwad athroniaeth Philo, a'r syniad offeiriadol am berson Crist, oedd ei osod Ef yn y canol rhwng dyn a Duw. Dyma barodd i rai esbonwyr dybied y dysgai He yr athrawiaeth

Ariaidd am berson Crist, sef mai Bôd nefol oedd Efe, uwch na dyn ac îs na Duw, yn sefyll rhyngddynt nid yn unig mewn swydd, ond hefyd mewn hanfod. Ond darllen i fewn i feddwl yr awdwr syniadau na ddychmygodd am danynt fyddai priodoli iddo athrawiaeth Arius neu Athanasius.

(1) Gesyd yr awdwr ei ddysgeidiaeth am *natur nefol Crist* yn nhair adnod gyntaf yr epistol, a hynny bron yn achlysurol, oblegyd ei amcan yw dangos rhagoriaeth Crist fel cyfrwng datguddiad terfynol Duw, a gesyd allan athrawiaeth ei berson yn unig mor bell ag yr oedd ei amcan yn gofyn hynny. (i.) Dywed ei fod yn Fab Duw, ac er na ddeffinia Efe fabolaeth, dengys mai yn rhinwedd ei fabolaeth y rhagorai ar yr angylion (1[5]), ar Moses (2[6]), ac ar yr offeiriadaeth Aaronaidd (7[8]). (ii.) Efe yw cyfrwng creadigaeth y byd, ac etifedd pob peth (1[2]); Efe yw achos dechreuol a therfynol y cyfanfyd, ac y mae yn cynnal pob peth trwy air ei nerth (1[3]); Efe gan hynny yw Arglwydd creadigaeth a rhagluniaeth. (iii.) Dynodir ei gysylltiad hanfodol â Duw trwy ddweyd ei fod yn "ddisgleirdeb gogoniant Duw, ac yn wir lun ei berson Ef." Golyga hynny ei fod yn hanu o Dduw, mai Efe yw yr unig ddatguddiad cyflawn o Dduw, a'i fod er hynny yn gwahaniaethu oddiwrth Dduw (1[8]). (iv.) Rhoddir iddo safle Duw mewn addoliad (1[6]), a gelwir Ef yn Arglwydd (1[10]) ac yn Dduw (1[8]). (v.) Pery ei fabolaeth trwy holl gyfnodau ac agweddau ei fodolaeth. Cyn ei ymgnawdoliad fel Mab yr oedd yn gyfrwng y cread, a'i hanfod yn deilliaw o Dduw er ei ddatguddio Ef. Fel Mab yr adeiladai dŷ Dduw o dan yr hen oruchwyliaeth (2[6]); fel Mab y daeth Efe i'r byd (1[6]), ac y bu fyw ei fywyd o ufudd-dod ar y ddaear (5[8]); fel Mab yr aeth i'r nefoedd ar ei esgyniad (4[14]), yr eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd (1[3]), ac yr erys yno yn offeiriad yn dragywydd (7[3]). Ymddengys felly y golyga ei fabolaeth ei fod o ran natur, swydd a safle i'w ystyried yn Dduw.

(2) Ond o'r tu arall fe wahaniaethir rhyngddo a Duw, ac y mae yn ddarostyngedig iddo. Lle y rhoddir iddo yr enw Duw, sonir yr un pryd am Dduw sydd yn

Dduw iddo yntau ($1^{9}$). Cyfrwng Duw oedd Efe yng nghreadigaeth y byd, a Duw a'i gwnaeth Ef yn etifedd pob peth. Duw hefyd a'i gwnaeth Ef yn offeiriad yn ol urdd Melchisedec ($5^{5}$ $7^{28}$), ac a'i perffeithiodd Ef yn dywysog iachawdwriaeth ($2^{10}$). Pan aeth Efe i'r nefoedd, nid i orsedd Duw yr aeth, ond "Efe a eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd" ($1^{3}$), ar ddeheulaw gorseddfainc Duw ($12^{2}$ $8^{1}$). Ar bwys y brawddegau hyn y priodolir i He yr athrawiaeth Ariaiadd, ac yr esbonir y gair "gwnaeth" ($1^{2,4}$ $2^{7}$ $5^{5}$ $7^{28}$) yn yr ystyr fod Duw wedi dwyn y Mab i fodolaeth, ei greu i amcanion ei swydd. Ond nid yw'r geiriau a gyfieithir "gwnaeth" yn y lleoedd hyn yn awgrymu dwyn i fodolaeth, ond yn hytrach apwyntiad i swydd neu osodiad mewn safle. Ac o'r tu arall, fe ddywedir mewn amryw fannau fod Crist yn ei berson a'i swydd yn bodoli yn dragwyddol ($1^{8}$ $5^{6}$ $6^{20}$ $7^{3,24,28}$ $13^{8}$). Gwir nas gellir dweyd yn bendant fod y gosodiadau hyn yn cau allan y syniad o ddechreuad, ond pan gyfunir hwynt â'r gosodiadau eraill, ei fod o hanfod Duw ac yn gopi o hono, yn grewr a chynhaliwr y byd, ac yn wrthrych addoliad angylion, gellir dweyd ei fod yn berson tragwyddol yn yr ystyr helaethaf. Y gwirionedd yw nad ydyw yr awdwr wedi codi nag ateb y cwestiwn am dragwyddoldeb bodolaeth Crist, a hynny am y rheswm ei fod ef fel Philo yn cymeryd yn ganiataol fod byd y sylweddau, i'r hwn y perthynai y Mab, o angenrheidrwydd yn dragwyddol, ac nad oedd dechreu na diwedd i ddim o fewn ei gylch. I fyd y cysgodion yn unig y perthynai amser. Ond erys yr anhawster ei fod ar un llaw yn gwneud Crist yn Dduw, ac ar y llaw arall yn ei wahanu a'i wahaniaethu oddiwrth Dduw, ac yn ei osod islaw iddo. Ceir yr un anhawster i raddau llai yn rhannau eraill y TN, ac yn wir yn y syniad o berthynas Tad â Mab yn y Duwdod o gwbl. Nid yw yr esboniad Ariaidd ar He yn gywir, oblegyd nid îs-dduw o natur a phriodoleddau gwahanol i'r un Duw yw Crist yn yr epistol. Yn hytrach fe saif yn lle Duw i ddyn ym mhob perthynas foesol ac ysprydol, ag eithrio safle'r barnwr ($4^{12,13}$ $10^{31}$ $12^{23,29}$). Er fod ffurfiau athroniaeth Philo a'r syniad offeiriadol yn tueddu at osod

Crist rhwng Duw a dyn, eto gorchfyga'r awdwr y duedd honno i raddau helaeth, hyd nes y daw Crist i olygu iddo "holl gyflawnder y Duwdod" ym mhob perthynas â dyn a'i hanes a'i fyd. Ac nid â ymhellach. Ni ddywed beth oedd perthynas y Duw hwn sydd yn Dduw digonol i ni â'r Duw tragwyddol. Ni chynhygia esbonio'r berthynas rhwng Duw ynddo'i hunan a Duw mewn cymdeithas; rhwng Duw yn ei hanfod a Duw mewn datguddiad. Methasai Plato a Philo lwyddo i wneud hynny er cynnyg, ac y mae yn ameus a oes eto feddyl-ddrych wedi ei lunio a all gynnwys, cysoni, ac egluro yn llawn y ddwy nodwedd hyn ar y Duwdod. Amcan ymarferol sydd i He, sef gosod Crist gerbron fel awdwr iachawdwriaeth, ac arch-offeiriad mawr sydd yn arwain y credinwyr at Dduw.

(3) Am hynny, y mae ei ddysgeidiaeth am berthynas Crist â dyn yn llawn a chlir. Y Mab goruchaf y soniwyd am dano a wnaethpwyd yn îs na'r angylion ($2^{7}$). Fe ddaeth yn gyfrannog o gnawd a gwaed fel dynion ($2^{14}$). Yr enw dynol Iesu a roddir iddo yn fwyaf cyffredin yn yr epistol hwn. Ac nid dynoliaeth yr Iesu fel ffaith gyffredinol a geir yma. Gwyddai'r awdwr fanylion ei hanes ar y ddaear, a gwelai ystyr arbennig ynddynt. Yr oedd Efe ym mhob peth sydd yn hanfodol i ddynoliaeth wedi byw yn gyffelyb i ddynion eraill. Ganwyd Ef o lwyth Judah ($7^{14}$), a themtiwyd Ef ym mhob peth yr un ffunud a'i frodyr ($2^{18}$ $4^{15}$); ymddiriedodd yn Nuw a gweddiodd arno "trwy lefain cryf a dagrau" ($2^{13}$ $5^{7}$); dioddefodd boen a dysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddioddefodd, ac felly y perffeithiwyd Ef i'w lawn ddynoliaeth, ac i feddu cymhwyster i fod yn awdwr iachawdwriaeth ($2^{10}$ $5^{8,9}$), ac yn y diwedd profodd farwolaeth ($2^{9}$) trwy ddioddef y groes ($12^{2}$). Nid Bôd nefol dan rith dyn neu wedi gwisgo cnawd oedd efe, ond dyn gwirioneddol yn cyfranogi o holl elfennau profiad dynoliaeth; ac mewn un peth yr oedd yn fwy o ddyn na neb arall, oblegyd yr oedd heb bechod ($4^{15}$). Danghosodd felly mewn ffaith, yr hyn a dystia pob cydwybod, mai diffyg a methiant mewn dynoliaeth ydyw pechod, ac na pherthyn

i'w hanfod a'i delfryd hi. Ac er mai Mab Duw a ddaeth yn ddyn, nid oedd hynny mewn un modd yn cyfyngu ar wirionedd ei ddynoliaeth. Yn hytrach yr oedd yn ei natur dragwyddol anghenraid iddo ddod yn ddyn. Yr oedd yn weddus i Dduw, yr oedd priodoldeb dwyfol, i berffeithio tywysog iachawdwriaeth trwy ddioddefiadau. Ac nis gallasai yr hwn a wnaed yn offeiriad tragwyddol gyflawni ei swydd heb ddod yn ddyn, fel y gallai gydymdeimlo â dynion yn eu gwendidau a'u temtasiynau ($2^{18}$ $4^{15}$ $5^{2}$). Ac y mae yn deilwng o sylw nad awgryma'r awdwr mai yn ei ddynoliaeth yn unig y cafodd yr Iesu y profiadau hyn. Ni ŵyr He na'r TN yn unlle ddim am y syniad fod Iesu Grist yn gwneud un peth fel Duw a pheth arall fel dyn. Beth bynnag oedd ei natur, yr oedd ei holl berson yn ei holl brofiad daearol.

Cyfyd eto ddau gwestiwn na cheir atebiad iddynt yn He. Sut y daeth y Mab tragwyddol yn ddyn ? A beth oedd perthynas y ddwy natur â'u gilydd yn ei berson ? Ni ddywed yr awdwr ddim am genhedliad tragwyddol nac amserol y Mab, ac ni wyr ddim am athrawiaeth y ddwy natur fel y cyfryw, mwy na'r lleill o ysgrifenwyr y TN. Nid yw yn dilyn nas gall yr athrawiaeth honno fod yn esboniad da ar ddysgeidiaeth He, ond y mae yn eglur na orffenwyd esbonio person Crist o fewn y TN. Gesyd He y Mab ger ein bron yn gyntaf fel cyfrwng holl ymwneud Duw â'r byd ac â dyn, ac yn ail fel dyn wedi ei wneud ym mhob peth ond pechod yr un fath a'i frodyr. Cysyllta'r awdwr y ddau ddosbarth o ffeithiau â'u gilydd, nid mewn undeb hanfodol dwy natur, ond yn undeb moesol ac ymarferol amcan a gwaith iachawdwriaeth, a cheir gweled yr undeb hwn wedi ei berffeithio a'i gyflawni, yn yr Arch-offeiriad mawr sydd drosom ni ar ddeheulaw gorseddfaingc y Mawredd yn y nefoedd.

## II. TYWYSOG IACHAWDWRIAETH. III[1].-IV[13].

Wedi dangos rhagoriaeth Crist, datguddiwr Duw, ar yr angylion, cyfryngwyr datguddiad yr HD, a dod i olwg prif bwnc ei ddadl, sef rhagoriaeth offeiriadaeth Crist ar yr offeiriadaeth Iddewig, gwel yr awdwr ar lwybr ei ymresymiad â'r bobl hyn un person oedd o bosibl yn sefyll yn uwch yng ngolwg yr Iddewon na'r angylion neu'r offeiriaid, sef Moses. Efe oedd rhoddwr y ddeddf, sylfaenydd yr offeiriadaeth, ac arweinydd y genedl. Ni buasai'r prawf o uchafiaeth derfynol Cristionogaeth yn gyflawn heb ddangos ei rhagoriaeth ar genadwri Moses, a deuai gwaith Joshua i'r ystyriaeth fel parhad a gorffeniad gwaith Moses. Dengys yr awdwr fod Tywysog iachawdwriaeth dragwyddol yn rhagori ar arweinwyr y genedl o dan yr HD, a chyd-bletha â'i brawf nifer o rybuddion ymarferol, fel yn yr adran flaenorol. Bu Moses yn ffyddlon fel arweinydd, ond methodd y bobl oherwydd anghrediniaeth a chyr-raedd yr orffwysfa. Ac er i Joshua eu harwain hwy i Ganaan, nid honno oedd gorffwysfa derfynol Duw, oblegyd "y mae gorffwysfa eto'n ol i bobl Dduw" i'w meddiannu trwy ffydd yng Nghrist. Wrth reswm, y mae unoliaeth y ddwy oruchwyliaeth yn gorwedd odditan gymhariaeth yr awdwr, oblegyd nis gellir cymharu pethau nad oes un cysylltiad rhyngddynt. Yr unoliaeth oedd sail apêl yr awdwr at y meddwl Hebreig, oblegyd hawddach oedd i Iddew dderbyn Cristionogaeth fel datblygiad allan o'r hen oruchwyliaeth, na phe safasai mewn gwrthgyferbyniad iddi, neu allan o bob perthynas â hi. Ond nis gallaf weled (gyda T. C. Edwards) mai "unoliaeth y ddwy oruchwyliaeth" a bwysleisir yn yr adran hon neu'r rhai dilynol. Cymer yr awdwr yn ganiataol unoliaeth wreiddiol y ddau ddatguddiad fel sail ei ymresymiad a'i gymhellion trwy yr holl lythyr, ond y pwynt y cyrhaedda ato yw rhagoriaeth ac uchafiaeth Cristionogaeth. Dyna'r gwirionedd yr oedd ei ddar-llenwyr mewn perygl o'i anghofio. Syniadau arweiniol yr adran hon yw fod gan Grist fwy gogoniant na'r eiddo Moses, a gwell gorffwysfa na'r eiddo Joshua.

III. 1 O HERWYDD PAHAM, frodyr sanctaidd, cyfrannogion o'r galwedigaeth nefol, ystyriwch Apostol ac Arch-offeiriad ein cyffes ni, Crist Iesu ;

---

## i. Rhagoriaeth Crist fel Mab ar Moses fel gwas. ($3^{1-6}$).

Dygir enw Moses i mewn ar bwys galw Crist yn apostol ; cyfeiria'r gair yn ol at yr hyn ddywedwyd am dano fel datguddiwr Duw a thywysog iachawdwriaeth. Fel apostol, datguddiwr ac arweinydd yr HD, bu Moses yn ffyddlon, ond y mae Crist yn haeddu mwy gogoniant. Ni ddywedir ar unwaith paham, ond yn niwedd yr adran daw yr oll i bwynt yn y ffaith fod Crist yn Fab, tra nad oedd Moses ond gwas.

1. *O herwydd paham* : Cyfeiriad yn ol at yr holl ymresymiad blaenorol lle y dygasid Crist ymlaen fel datguddiwr a thywysog ac arch-offeiriad digonol.

*Frodyr sanctaidd* : Sylweddola'r awdwr y frawdoliaeth sydd yng Nghrist fel perthynas bersonol rhyngddo ef a'r "Hebreaid." Dyma gyfarchiad mwy personol nag a gaed o'r blaen. Datblyga'r traethawd yn anerchiad brawdol. *Sanctaidd*—nid mewn ystyr foesol, ond crefyddol —wedi eu neilltuo yn bobl Dduw yng Nghrist. Y mae'n eglur fod ynddynt ddiffygion moesol pwysig eto.

*Cyfrannogion o'r galwedigaeth nefol* : Tybia rhai fod yma awgrym o alwad y cenhedloedd, ac mai â hwy y mae'r "Hebreaid" yn gyfranogion. Dywed eraill mai saint yr HD a dybir. Ond ni olyga'r gair ragor na bod i'r "Hebreaid" ran yn yr alwad nefol, heb enwi nac awgrymu neb arall sydd gyfrannog ynddi. Golyga'r *galwedigaeth nefol* alwad o'r nefoedd ac i'r nefoedd. Y mae'r geiriau *nefol* a *nefoedd* yn He fel "y byd a ddaw" ($2^5$ $6^5$) a "thragwyddol" ($9^{15}$) yn golygu cylch y pethau parhaol, hanfodol, gwirioneddol, mewn gwrthgyferbyniad i'r byd presennol, materol a darfodedig, nad yw ond cysgod y pethau nefol neu dragwyddol. Portread a chysgod y pethau nefol oedd aberthau yr HD ($8^5$), y tabernacl ($9^{23}$), a'r gyfraith ($10^1$). Ond yn y nefoedd y mae'r "gysegrfa a'r gwir dabernacl" ($8^2$ $9^{23}$). Yno yr

2 Yr hwn sydd ffyddlawn i'r hwn a'i hordeiniodd ef, megis ag *y bu* Moses yn ei holl dŷ ef.

---

aeth Iesu, ac yr erys i weinyddu ei swydd offeiriadol ($4^{14}$ $6^{20}$ $7^{26}$ $8^{1}$), ac oddiyno y llefara ei air terfynol ($12^{23}$).

*Ystyriwch*: Craffwch arno hyd nes ffurfio syniadau cywir am dano. Mawr yw cyfrifoldeb moesol a meddyliol y rhai sydd yn gyfranogion o'r alwad nefol.

*Apostol ac Arch-offeiriad*: Cennad Duw wedi ei anfon at ddynion ($1^{2,3}$ $2^{3}$), a chynrychiolydd dynion ger bron Duw ($2^{17,18}$). Efe ddaeth a'r alwad nefol at ddynion, ac a wnaeth ddynion yn gyfranogion o honi. Nis gelwir Crist yn apostol yn unlle arall yn y TN, ond defnyddia Ef y ferf gyfatebol droion, a dywed ei fod wedi ei anfon oddiwrth Dduw (Ioan $5^{36}$ $6^{57}$ $17^{3,18}$ $20^{21}$ Mt. $10^{40}$).

*Ein cyffes*: Gall y geiriau olygu "yr hwn yr ydym yn ei gyffesu," ond ni chyfetyb yr esboniad hwn yn dda i ystyr y gair a gyfieithir *cyffes* fel y'i ceir mewn mannau eraill yn He. Yn $4^{14}$ "glynwn wrth ein *proffes*," ac yn $10^{23}$ "daliwn *gyffes* ein gobaith yn ddisygl," ac nid ymddengys y syniad mai Crist yw gwrthrych ffydd a chyffes y credinwyr yn He fel y'i ceir yn Paul a'r Actau. Y mae athrawiaeth ffydd yn He yn dra gwahanol i eiddo Paul. Gwell yw deall "cyffes ffydd" neu "athrawiaeth yr efengyl" (cf. 1 Tim. $6^{12}$ a $1^{10}$), yr hon a gyhoeddwyd gan Grist fel apostol, ac a sylweddolir trwyddo fel offeiriad. Geilw Philo y Gair yn "Arch-offeiriad mawr y gyffes."

**2.** *Yr hwn sydd ffyddlawn*, neu **fel un ffyddlawn**: fel un sydd yn llanw ei swyddau heb golli mewn dim (gwel ar $2^{17}$). Adgof yw'r geiriau o Num. $12^{7}$, "fy ngwas Moses yr hwn sydd ffyddlawn yn fy holl dŷ."

*I'r hwn a'i hordeiniodd ef*: llyth. **gwnaeth ef,** h.y., yn apostol ac offeiriad i Dduw.

*Megis* [*ag y bu*] *Moses* **hefyd:** Dygir Moses i fewn fel pe'n ddamweiniol bron. Disgynna'r awdwr yn gyntaf ar nodwedd yn Iesu Grist oedd yn debyg ynddo i Moses.

3 Canys fe a gyfrifwyd hwn yn haeddu mwy gogoniant na Moses, o gymmaint ag y mae yr hwn a adeiladodd y tŷ yn cael mwy o barch na'r tŷ.

---

Diau fod hon yn ffordd fedrus i arwain Iddewon ymlaen at y gymhariaeth ac at ragoriaeth Crist. Cryn waith oedd cael Iddew i gydnabod fod Crist gyfuwch a Moses.

*Yn ei holl dŷ Ef*: Fel y sonir am Eliezer ar dŷ Abraham (Gen. 24[2]), neu Joseph ar dŷ Pharaoh (Gen. 41[40]), yn oruchwylwyr dros bob peth a berthynai i'w meistriaid, felly bu Moses yn oruchwyliwr ffyddlon i Dduw dros holl fywyd ei genedl etholedig. Golyga'r tŷ yn gyntaf felly yr eglwys Iddewig yn yr anialwch, ac at Moses yn unig y cyfeiria'r geiriau yn y fan hon, oblegyd "Mab *ar* dŷ ei Dad" yw Crist, ac nid gwas *yn* y tŷ.

**3.** *Canys*: Rheswm dros *ystyried* Crist (adn. 1) yn ei uchafiaeth ar Moses.

*Fe a gyfrifwyd . . . . yn haeddu.* A dylid deall y rhoddwyd iddo mewn canlyniad

*Mwy gogoniant*: Yn gyntaf, y mae gogoniant Crist yn fwy na'r eiddo Moses, fel y mae gogoniant adeiladydd y tŷ yn fwy nag eiddo'r tŷ, yr achos yn fwy na'r effaith, y gwneuthurwr yn fwy na'i waith, ac yn arbennig, awdwr a phen yr eglwys yn fwy na'r eglwys. Rhan o'r tŷ oedd Moses, ond Crist oedd ei adeiladydd; ac wrth *adeiladu* y tŷ golygir ei gynllunio, ei adeiladu, ei ddodrefnu a'i drefnu; golygir y teulu yn fwy na'r tŷ. Aelod o'r eglwys Iddewig oedd Moses, er yn arweinydd a phroffwyd iddi, ond Crist oedd ei hawdwr hi. Y mae'r syniad fod Crist yn awdwr yr hen oruchwyliaeth, yn ogystal â'r newydd, yn hollol naturiol yn He (cf. 1[2] 2[12,13] 11[26]). Tybia rhai mai Duw a olygir yn y fan hon wrth yr adeiladydd, ond dianghenraid a dibwrpas fyddai dangos fod Duw yn haeddu mwy gogoniant na Moses.

*Gogoniant . . . . parch*=**anrhydedd.** (Gwel ar 2[7]).

4 Canys pob tŷ a adeiledir gan ryw un; ond yr hwn a adeiladodd bob peth *yw* Duw.

---

4. Ail-ddechreua yr awdwr ei ymresymiad yn y fan hon, a gesyd ei fater mewn ffordd arall. Wedi son am dŷ Dduw yn adn. 2, ac am Grist fel ei adeiladydd yn adn. 3, yr oedd eisiau egluro yn fanylach gysylltiad y ddau â'u gilydd ac â Moses.

Gesyd i lawr yn gyntaf yr egwyddor gyffredinol "pob tŷ a adeiledir gan ryw un." Nid yw na thŷ nac eglwys yn ffaith anibynnol ynddi ei hunan. Cyfeiria at rywun tu ol ac uchlaw iddi. Ffordd arall yw hon o ddweyd fod i bob effaith ei achos. Dechreua'r awdwr c'r dechreu.

Yr ail ffaith sylfaenol yw mai Duw yw achos pob effaith, ac felly efe yn gyntaf ac yn wreiddiol yw adeiladydd y tŷ a fu dan yr hen oruchwyliaeth, a'r un sydd o dan yr oruchwyliaeth newydd. Y mae yn oddefol, er nad yn naturiol, cyfieithu fel y gwna llawer o'r hen esbonwyr: "ond y mae'r hwn a adeiladodd bob peth yn Dduw." Mynegi dwyfoldeb Crist a wneir felly. Byddai'r frawddeg yn un hollol eithriadol yn He; ac wedi dweyd fod Crist yn Dduw, difudd ac anaturiol fyddai myned ymlaen i geisio profi ei ragoriaeth ar Moses. Diau y credai yr awdwr fod Crist yn Dduw, ond ni ddywed hynny yn y ffurf hon, ac yn arbennig torrai'r fath osodiad ar gwrs ei ymresymiad yn y fan hon. Dweyd y mae yn hytrach fod i bob effaith ei achos, ac mai Duw yw achos pob peth. Ond beth gan hynny yw lle Moses a Christ yn y fath gyfundrefn?

5. *Gwas yn y tŷ* yw Moses; gwas rhydd a gwas ffyddlon, ond nid efe gynlluniodd y tŷ, ac nis gallai ei adeiladu. Nid ei fwriadau ef a sylweddolir ynddo, ac nid oes iddo awdurdod na llywodraeth drosto. Derbyn y ddeddf a'i chyhoeddi a'i gweinyddu oedd ei waith ef; gwas ydyw.

*Yn ei holl dŷ*: Yr oedd cylch gwasanaeth Moses yn ehangach nag eiddo gweision eraill. Yn ol yr HD yr

5 A Moses yn wir *a fu* ffyddlawn yn ei holl dŷ megis gwas, er tystiolaeth i'r pethau oedd i'w llefaru ;

---

oedd efe yn broffwyd (Dt. 18[18]), offeiriad (Ex. 28[1]), deddfroddwr a barnwr (Ex. 17[17]), ac estyna ei wasanaeth i lawr trwy holl oesau Israel.

*Er tystiolaeth i'r pethau oedd i'w llefaru*: Cynhygir tri esboniad ar y geiriau hyn: (1) Eu bod yn cyfeirio at Num. 12[8] "wyneb yn wyneb y llefaraf wrtho," ac yn golygu fod Duw yn dwyn tystiolaeth i Moses fod yr hyn a lefarai wrth y bobl yn wir; (2) fod Moses yn ffyddlon i dystiolaethu yr hyn a ddatguddiai Duw iddo o dro i dro. Gorffwysa'r esboniad hwn hefyd ar y geiriau uchod yn Num. 12[8]. (3) Fod Moses yn dyst i holl ddatguddiad Duw trwy'r proffwydi i fyny hyd at Grist. Dadleuir fod cysylltiadau Num. 12[7] yn cau allan yr esboniad hwn, oblegyd fod yr adn. flaenorol yn gwahaniaethu rhwng Moses a'r proffwydi. Ond peth cyffredin yn He yw rhoddi ystyr newydd i hen eiriau, ac y mae'r syniad diweddaf yn cydfynd â'r frawddeg "yn ei holl dŷ," ac yn gydweddol â syniad ac ymresymiad yr awdwr fod y datguddiad yn yr HD yn gysgod o'r efengyl (1[1]).

**6.** *Eithr Crist*: Dyma'r tro cyntaf i'r awdwr ddefnyddio'r enw hwn ar ei ben ei hunan; dim ond deuddeg o weithiau y ceir ef yn yr epistol, a thair o honynt yn yr enw Iesu Grist. Ceir yr enw Crist 68 o weithiau yn Rhuf.

*Megis Mab*: Dyma uchafbwynt ei ragoriaeth ar Moses. Yn yr un peth hefyd y rhagorai ar yr angylion (1[4,5]). Dengys y term ei berthynas â Duw ac â'r tŷ. Duw yw achos gwreiddiol pob peth, ond y Mab yw cyfrwng ei weithrediad yn y byd (1[2]). O fewn cylch hanes, y Mab yw sylfaenydd ac adeiladydd tŷ Dduw, lle yr oedd Moses yn was. Y Mab yw grym bywyd yr eglwys, ei sylfaenydd, ei hadeiladydd a'i phen.

*Ar ei dŷ ei hun*: Yn gywir, **Ar ei dy Ef**, sef Duw. Gŵyr y Mab feddwl y Tad, a gweinydda ei awdurdod dros yr eglwys.

6 Eithr Crist, megis Mab ar ei dŷ ei hun: tŷ yr hwn ydym ni, os nyni a geidw *ein* hyder a gorfoledd *ein* gobaith yn sicr hyd y diwedd.

---

*Tŷ yr hwn ydym ni*: Dengys nid yn unig le Moses a Christ yn ei ymresymiad, ond lle'r credinwyr hefyd. Y maent mewn gwirionedd yn gydradd â Moses, oblegyd hwy yn awr yw'r tŷ a adeiladodd Duw trwy gyfryngwriaeth Crist. Yn ol dysgeidiaeth gyffredin yr awdwr, tŷ amherffaith, anghyflawn, cysgod o dŷ, oedd yr eglwys Iddewig; a'r eglwys Gristionogol yw'r tŷ yn ei ffurf wirioneddol a therfynol. Tŷ o dan ofal gwas oedd y cyntaf, ond tŷ o dan awdurdod y Mab, ei Arglwydd priodol, yw yr ail (cf. 1 Cor. 3[16] 2 Cor. 6[16] Eph. 2[21,22] 1 Pedr 2[5]). Ceir y syniad yn Philo hefyd fod yr enaid yn dŷ Dduw.

*Os nyni a geidw*: **Os daliwn ein gafael yn**: Dechreua'r awdwr ei ffordd at y rhybuddion ymarferol. Ffyddlon yw Crist, a gofyna i'w bobl hefyd fod yn ffyddlon.

*Hyder* neu hyfdra: Ysbryd rhydd a diofn yn mynegi ei hunan mewn gair neu weithred. Defnyddir y gair am Apolos: "a ddechreuodd lefaru yn hyf" (Act. 18[26]). Yr oedd erlidigaeth a gwendid ffydd wedi gwneud yr "Hebreaid" yn ofnus a llwfr. Nid yw yn glir a ddylid cysylltu *hyder* yn ogystal a *gorfoledd* â gobaith, a chyfieithu "hyder a gorfoledd [ein] gobaith"; os gwneir, golyga fod gobaith y credadyn yn rhoddi iddo hyfder i wynebu gelynion a gorthrymderau.

*A gorfoledd* [neu **ymffrost**] *ein gobaith*: Naill ai'r gorfoledd sydd yn torri allan yn fynegiad o obaith yn yr enaid, y weithred o ymffrostio yn y gobaith; neu ynte wrthrych ymffrost sydd hefyd yn sail gobaith, sef y profiad o Grist yn Waredwr digonol.

*Hyd y diwedd*: Hyd nes sylweddoli ein gobaith, nid wedi marw, ond wedi gorchfygu pob gelyn a chyrraedd nôd yr alwad nefol, feallai yn ail-ddyfodiad Crist yn y man. Ni cheir y geiriau hyn yn llawysgrif y Fatican (B), a barna rhai mai wedi llithro i fewn o adn. 14 y maent. Ffafria gramadeg yr adn. y dybiaeth hon i raddau.

### ii. Canlyniadau anghrediniaeth Israel. 3[7-11]

Dyfynna'r awdwr rybudd a roddodd rhywun arall i Israel ar gyfrif eu hanghredinaeth yn yr anialwch; mabwysiada ef i'w amcan presennol fel wedi ei lefaru gyda golwg ar y cyfnod Cristionogol; cymer eiriau'r Salm fel proffwydoliaeth rybuddiol, ac yn rhan olaf y bennod, cymhwysa'r geiriau mewn modd personol at yr Hebreaid.

Dyfynnir Salm 95[7b-11a], gan ddilyn yn lled agos, er nad yn llythyrennol, gyfieithad yr LXX, yr hwn a wahaniaetha gryn dipyn oddiwrth yr Hebraeg. Yn 4[7] cyfeirir at y Salm hon fel eiddo Dafydd, a cheir nodyn i'r un perwyl yn un o lawysgrifau yr LXX, ond nid yn yr Hebraeg. Daethai yn arferiad gan yr Iddewon i briodoli'r Salmau yn gyffredinol i Dafydd, ond y mae yn sicr nad Dafydd oedd awdwr y Salm hon. Priodola Davidson hi i gyfnod olaf y gaethglud, tua diwedd y bumed ganrif CC, a thybia y perthynai i'r un cylch ag Es. 40-66. Cyfnod o obaith oedd hwn i Israel, cyfnod proffwydoliaeth y cyfamod newydd (Jer. 31[33]) a'r addewid i Israel y byddai yn oleuni i'r cenhedloedd (Es. 42[6]). Tyrr y gobaith allan yn llawenydd a moliant yn rhan gyntaf Salm 95: ond po ddisgleiriaf y gobaith, mwyaf oll o angen sydd i rybuddio'r genedl rhag syrthio eto i anghrediniaeth, a methu, megis cynt, sylweddoli ei gobeithion. Gesyd Briggs y Salm yn ddiweddarach, yn niwedd y cyfnod Persiaidd, neu ddechreu y cyfnod Groegaidd, h.y. yn hanner olaf y bedwaredd ganrif CC. Cyfnod o lawer o obeithion a pheryglon i Iddewaeth oedd hwnnw hefyd. Cyffelyb oedd sefyllfa'r "Hebreaid," yn uchel eu breintiau gan fod Duw wedi llefaru wrthynt yng Nghrist, a'u gwneud yn "gyfranogion o'r galwedigaeth nefol," ond mewn perygl o golli eu gobaith trwy anghrediniaeth, o dan ddylanwad galluoedd croes o'u hamgylch.

**7.** *Am hynny:* Gan eich bod yn dŷ Dduw os daliwch eich gobaith: cysylltiad cyffelyb sydd yn Salm 95; rhagflaenir y geiriau a ddyfynnir gan y geiriau:

7 Am hynny, megis y mae yr Yspryd Glân yn dywedyd, Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef,

---

> "Canys efe *yw* ein Duw ni;
> A ninnau *ym* bobl ei borfa, a defaid ei law."

Yn llai uniongyrchol gall yr *am hynny* gymeryd ei rym o'r holl adran flaenorol; *am hynny*, ar gyfrif rhagoriaeth a ffyddlondeb Crist fel apostol ac offeiriad.

Nid yw yn eglur ychwaith beth yw cysylltiad yr *am hynny* â'r hyn sydd yn dilyn. (1) Gesyd y C.S.A. yr holl ddyfynniad mewn cromfachau, gan gysylltu'r *am hynny* âg *edrychwch* yn adn. 12, ond y mae yn dra anaturiol, er nad yn amhosibl, gosod darn cyhyd rhwng cromfachau. Fe gofia'r darllenydd nad oedd atalnodau na chromfachau nac unrhyw arwyddnodau o'r fath yn y Groeg gwreiddiol. (2) Tybia rhai esbonwyr fod y frawddeg a ddechreua gydag *am hynny* heb byth ei gorphen, i'r awdwr ei anghofio ar ol dwyn y dyfynniad i fewn, ac ail-ddechreu yn adn. 12. (3) Y gwrthwynebiad a deimlir i gymeryd y cysylltiad naturiol, "*am hynny . . . na chaledwch eich calonnau,*" yw fod yr awdwr felly yn mabwysiadu fel ei eiddo ei hunan eiriau yr Yspryd Glan, a geiriau Duw (9-11), ond nid yw hynny o gwbl yn amhosibl, oblegyd cymer yr awdwr yn gyson lawn ryddid i ddefnyddio geiriau'r Ysgrythyr i amcanion ei bwnc (gwel Adnodiad C).

*Megis y mae'r Yspryd Glan yn dywedyd:* Edrycha He yn gyson heibio i Ysgrifenwyr yr HD at ei Awdwr dwyfol ($9^8$ $10^{15}$ 1 Tim. $4^1$; gwel Adnodiad C).

*Heddyw:* Yn gyntaf, pan lefarai'r Salmydd. Gwelsai ef ryw gyfle newydd yn agor o flaen y genedl. Feallai y gwelai fel proffwyd ddydd dyfodiad y Messiah a gwaredigaeth y cyfamod newydd yn ymyl. Yn He y mae'r cyfle hwn wedi dod yn bresennol, a pherygl i'r "Hebreaid" i golli eu cyfle, fel yr Israeliaid yn yr anialwch.

*Os gwrandewch ar ei leferydd ef:* Gall olygu (1) gwrando i ufuddhau, neu (2) yn syml "glywed ei lais," oblegyd gall fod anufudd-dod wedi peri i Dduw dewi, neu wedi anghymwyso dynion i glywed ($6^{4-6}$). Ond yr ystyr

8 Na chaledwch eich calonnau, megis yn y cyffrôad, yn nydd y profedigaeth yn y diffaethwch:

---

flaenaf sydd yn ateb y cysylltiadau oreu, oblegyd ofer rhybuddio a gobeithio os na ellir mwyach glywed Duw. Gallesid cyfieithu'r Hebraeg "O na wrandawech ar ei lais ef!"

8. *Na chaledwch eich calonnau:* Y syniad cyffredin yn yr HD a'r TN yw mai'r galon yw sedd holl fywyd mewnol ac ymwybodol dyn; cynhwysa'r deall, yr ewyllys a'r teimlad. Y mae'r galon yn ei hiechyd a'i gweithrediad naturiol yn dyner fel cig, a phed aethai yn galed fel carreg nis gallasai wneud ei gwaith (Ezek. 11[19]); felly dynoda'r galon galed y bywyd mewnol sydd yn gwrthod, neu nas gall, ddeall, teimlo ac ufuddhau, yspryd gwrthnysig yn gwrthod sylw ac ufudd-dod. Gall dyn galedu ei galon ei hun trwy anufudd-dod bwriadol, megis Pharaoh (Ex. 8[15,32] 9[34]), ond dywedir hefyd fod Duw wedi caledu calon Pharaoh yn gosp am ei anufudd-dod (Ex. 4[21] 9[12] 10[1,20,27] 11[10] 14[4,8]).

*Megis yn y cyffroad:* Yn ol yr Hebraeg **fel yn Meribah, fel yn nydd Massah yn y diffaethwch** (gwel C.S.D.). Cyfeiriad sydd yn y Salm at yr Israeliaid yn cwyno yn erbyn Moses am nad oedd ganddynt ddwfr, a dywedir i Moses "alw y lle Massah a Meribah o achos cynnen meibion Israel, ac oblegyd iddynt demtio yr Arglwydd" (Ex. 17[7] cf. Num. 20[13]). Nid oes gyfeiriad arbennig at y digwyddiadau na'r lleoedd hyn yn He; golygir yma fod y ddwy weithred o anufudd-dod a nodir yn estyn dros y deugain mlynedd. Ac yr oedd y syniad yn gyson â'r hanes fel y'i ceir ar y wyneb yn y Pentateuch. Yn ol Ex. 17[7] digwyddodd cynnen Meribah a phrofedigaeth Massah ar ddechreu taith yr anialwch; ac yn ol Num. 20[13] bu cynnen Meribah drachefn ar ddiwedd y daith. Tebyg mai yr un traddodiad sydd wrth wraidd y ddau hanes, ond ni wyddai awdwr He hynny, ac nid oedd enwau'r lleoedd ger ei fron, oblegyd dilyn yr oedd ef yr LXX., lle y cyfieithir y gair Hebraeg "Meribah"

9 Lle y temtiodd eich tadau fyfi, y profasant fi, ac y gwelsant fy ngweithredoedd ddeugain mlynedd.

---

i air Groeg sydd yn golygu **chwerwder** neu **lid:** y mae'r Cyf. Cym. *cyffroad* yn rhy wan. Y mae *profedigaeth* yn gyfieithad cywir o'r Groeg, ac o'r Hebraeg " Massah."

*Yn nydd y profedigaeth:* llyth. **yn ol dydd** h.y. fel y gwnaed yn nydd y profedigaeth.

**9.** *Lle y temtiodd, &c.:* Gwahaniaetha He ychydig yn y fan hon oddiwrth yr Hebraeg a'r LXX. a dylid cyfieithu, "**Lle y profodd eich tadau [fi] mewn prawf.**" (C.S.D.). Nid yw'r gair " fi " yn y Groeg, ac feallai y dylid cysylltu'r *profi* yn ogystal a'r *gweled* â'r *gweithredoedd*, a chyfieithu'r holl adn. "**Lle mewn prawf y profodd ac y gwelodd eich tadau fy ngweithredoedd ddeugain mlynedd.**" Yr un yw'r syniad yn y ddau gyfieithad, sef fod yr Israeliaid, yn lle ymddiried yn Nuw, yn gofyn o hyd am brawfion o'i allu a'i ffyddlondeb ef mewn gweithredoedd.

*Deugain mlynedd:* Yn yr Hebraeg ar LXX. cymer y geiriau hyn le "*am hynny*" yn yr adn. nesaf. Gwna'r awdwr y cyfnewidiad yn y fan hon yn fwriadol i ddangos fod yr un yspryd gwrthnysig wedi nodweddu'r genedl ar hyd y deugain mlynedd yn yr anialwch (cf. Dt. 9[7]). Gwelir oddiwrth adn. 17 fod yr awdwr yn gyfarwydd â'r frawddeg yn ei chysylltiad gwreiddiol.

Yr oedd syniad ymhlith y Rabbiniaid mai deugain mlynedd fyddai oes y Messiah, i gyfateb i ymdaith y genedl yn yr anialwch. Tybia rhai fod yr awdwr yn ysgrifennu He tua 70 OC, ac felly a'i olwg ar y ffaith mai tua deugain mlynedd oedd er esgyniad Crist, ac fod cyfnod prawf yr " Hebreaid," fel eiddo eu hynafiaid ymron dirwyn i ben. Nid oes fawr sail i'r dybiaeth.

**10.** *Digiais:* Hebraeg "caseais."

*Y genhedlaeth honno:* Cywirach, **Y genhedlaeth hon.** Newidiodd yr awdwr "honno" yr LXX. i "hon." Nid yw'r naill na'r llall yn yr Hebraeg. Ffynnai y syniad o

10 Am hynny y digiais wrth y genhedlaeth honno, ac y dywedais, Y maent bob amser yn cyfeiliorni yn *eu* calonnau ; ac ni adnabuant fy ffyrdd i :

11 Fel y tyngais yn fy llid, na chaent ddyfod i mewn i'm gorphwysfa.

---

gyfrifoldeb cynulliadol *(collective)*, cyfrifoldeb y dorf, trwy yr HD, ac er i Ezekiel wrthdystio yn ei erbyn, a dysgu mai'r "enaid a becho, hwnnw a fydd marw" (Ezek. 18), parhaodd yr Iddewon hyd amser Crist i gyfrif rhinwedd a phechod i'r genedl fel cyfanswm (Mt. $3^{9}$ Ioan $8^{33}$). Ond dysga'r awdwr hwn fod pob un yn gyfrifol yn bersonol ac unigol (adn. 12).

*Yn cyfeiliorni yn eu calonnau:* Yn crwydro yn eu bywyd mewnol oddiar ffordd Duw, fel y crwydrasant ddeugain mlynedd yn yr anialwch, yn lle cael llwybr uniawn i Ganaan.

*Ac ni adnabuant* : Gwell, **ond** *ni adnabuant.* Nid yw'r frawddeg hon fel yr un o'r blaen yn dibynnu ar "dywedais." Ni ddysgasant wybod ffyrdd Duw, na rhodio ynddynt.

**11.** *Fel :* Yn dynodi cyfatebiaeth rhwng anufudd-dod y bobl a llw Duw.

*Tyngais:* Rhoddir pwys mawr ar dyngu yn yr HD. Mewn cyfnod boreuol, pan nad oedd yn arferiad gosod cytundebau ar bapur, a phan nad oedd llywodraeth a llysoedd i sicrhau eu cyflawniad, arferid galw y Goruchnaturiol i fewn i sicrhau gwirionedd tystiolaeth, neu gyflawniad cytundeb (Gen. $31^{49}$). Y dybiaeth oedd na chymerai Duw, neu'r duwiau, un sylw o dystiolaeth gau, neu dorri cytundeb, os na byddent wedi eu galw yn arbennig i wneud hynny. (Condemnia Crist yr arferiad, oblegyd deil Duw ni yn gyfrifol am ein holl fywyd a'n geiriau, Mt. $5^{34}$). Tystiolaeth trwy lw felly oedd tystiolaeth sicr ; a daeth yn arferiad i son am Dduw yn tyngu neu dystiolaethu trwy lw, er nas gallai ef dyngu i neb oedd fwy nag ef ei hunan ($6^{13}$). Dull o ymadrodd ydyw yn golygu sicrwydd geiriau Duw. Ceir y llw hwn yn Num. $14^{21-22}$ a Dt. $1^{34-35}$.

12 Edrychwch, frodyr, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth, gan ymadaw oddi wrth Dduw byw.

---

*Na chaent*: Groeg **os cant,** ond rhydd y Cyf. Cym. yr ystyr yn gywir. Ffurf gyffredin ar lw oedd "Fel hyn y gwnelo Duw â mi, os archwaethaf fara" (2 Sam. $3^{35}$, 1 Sam. $3^{17}$). Rhan olaf y llw yn unig sydd yma, ac y mae yn gyfystyr â gwadiad cryf. "**Ni chant.**"

*Gorphwysfa*: Gwlad Canaan yn gyntaf (Dt. $12^{9,10}$). Ond gwelir yn y bennod nesaf fod ym meddwl yr awdwr syniad uwch, oblegyd er i Israel gyrraedd Canaan "y mae gorffwysfa eto yn ol i bobl Dduw." (Gwel Adnodiad E).

**iii. Rhybuddion rhag Anghrediniaeth.** $3^{12-19}$.

**12.** *Edrychwch*: Gwel o'r adn. 7.

*Na byddo un amser.* Cywirach, **rhag digwydd y bydd:** y mae lle i ofni.

*Yn neb o honoch*: Gwylied pob un drosto ei hun; oblegyd bernir pob un yn bersonol; ond gwylied pawb hefyd dros bob un.

*Galon ddrwg anghrediniaeth*: gall olygu "calon ddrwg a'i drygioni yn codi o anghrediniaeth," neu "galon ddrwg yn cynhyrchu anghrediniaeth," neu "galon ddrwg anghrediniol a'i drygioni yn gynhwysedig yn ei hanghrediniaeth." Pechod yr Israeliaid oedd anghrediniaeth, diffyg ymddiriedaeth yn Nuw, a hyny oedd perygl yr "Hebreaid." Yng ngolwg yr awdwr, anghrediniaeth yw y pechod mwyaf, gwraidd pob pechod, a ffydd yw y rhinwedd bwysicaf (pen. 11).

*Gan ymadaw*: llyth. **yn y syrthio ymaith: yn yr ymadawiad.** Gwrthgiliad yw anghrediniaeth yn troi'n weithred.

*Oddiwrth Dduw byw*: Gadewir allan y fanod er rhoddi'r pwyslais ar natur yn hytrach nag ar berson Duw. Un *byw* yw Ef, yn abl i waredu'r ffyddlon, ac i ganfod a chosbi'r anufudd ($4^{12-13}$). Ceir y frawddeg eto yn $9^{14}$.

13 Eithr cynghorwch eich gilydd bob dydd tra y gelwir hi Heddyw; fel na chaleder neb o honoch trwy dwyll pechod.

---

10[31] 12[22]. Felly yn aml y gwahaniaetha'r HD rhwng Jehofa a duwiau meirwon y cenhedloedd (1 Sam. 17[26,36] 2 Bren. 19[4,16] Jer. 10[10] 23[36] Dt. 5[26] Dan. 6[20,26]). Tybia rhai ar sail y frawddeg hon na allai darllenwyr He fod yn Iddewon, oblegyd na byddai syrthio yn ol i Iddewaeth yn syrthio oddiwrth Dduw byw. Dadleua eraill y byddai syrthio yn ol i Iddewaeth ar ol cael y datguddiad o Dduw yng Nghrist yn gyfystyr â gwrthgilio oddiwrth Dduw byw, oblegyd mai syrthio yn ol at Dduw traddodiad a ffurfiau meirw a wnaent. Anawdd barnu perthynas dynion â Duw cyhyd y bo ganddynt ryw fath o grefydd, ac nid oes un prawf nas gallasai'r rhai hyn fod yn Iddewon mewn perygl o syrthio i anuwiaeth. (Gwel Rhag. IV.).

13. *Cynghorwch eich gilydd*: llyth. **anogwch eich hunain:** ond cyfieither **anogwch eich gilydd**. Defnyddir "hunain" am "gilydd" droion yn y T N. Gall fod yma yn awgrymu undeb agos aelodau'r eglwys â'u gilydd, ond mwy tebyg yw mai priod-ddull damweiniol ydyw. Y mae'r gair a gyfieithir "anogwch" o'r un gwraidd â'r gair am yr Yspryd Glan yn Ioan 14[16] 16[7], a gyfieithir "Dyddanydd" neu "Ddadleuydd."

*Tra y gelwir hi Heddyw*: neu **cyhyd ag y cyhoeddir "Heddyw:"** Cyfle newydd y genedl oedd Heddyw'r Salmydd, a phery Heddyw Duw yn gyfle i'r "Hebreaid" cyhyd ag y gallant glywed ei lais. Gall yr Heddyw a'r cyfle ddod i'w terfyn naill ai (1) trwy iddynt galedu eu calonnau hyd nes methu clywed, neu (2) trwy farwolaeth, neu (3) trwy ail-ddyfodiad Crist, yr hyn a ddisgwyliai oes gyntaf yr eglwys i ddigwydd yn fuan a sydyn; ond y blaenaf welai'r awdwr yn fwyaf uniongyrchol, *fel na chaleder*.

*Trwy dwyll pechod*: **Y pechod** (gyda'r fanod) o anghrediniaeth ac anffyddlondeb. Dalla lygaid y meddwl fel na welont fyd na Duw yn iawn: cynhyrcha fwy o anghrediniaeth, gan galedu'r galon i anymwybyddiaeth ysprydol.

14 Canys fe a'n gwnaed ni yn gyfrannogion o Grist, os daliwn ddechreuad ein hyder yn sicr hyd y diwedd ;

---

**14.** *Canys*: Rhoddir rheswm dros yr anogaethau blaenorol ; y mae gennym rywbeth gwerth ei ddal.

*Yn gyfranogion o Grist*: Neu gellir cyfieithu **yn gyfranogion gyda Christ.** Golyga'r cyntaf fod y credinwyr fel aelodau o gorff dirgeledig Crist yn byw ynddo a thrwyddo mewn undeb mewnol ag Ef ; syniad cyffredin yw hwn yn Epistolau Paul (1 Cor. $12^{12-18}$; Rhuf. $12^{5}$; Eph. $2^{21-22}$), ond nid yw mor gartrefol yn He. Gwell yw yr ail gyfieithad, fod y saint yn cael cymdeithas â Christ ; yn ol adn. 6, tŷ Dduw yw'r saint, a Christ drosto fel Mab, ac yma dywedir fod y Mab yn gwneud yr aelodau eraill o'r teulu yn gyfranogion o'i gymdeithas Ef.

*Os*: **Os yn wir** (gyda phwyslais) **Y** *daliwn.* Gwel ar adn. 6, "os nyni a geidw." Er wedi eu gwneud yn gyfranogion â Christ, eto nis gallant sylweddoli'r fendith o'i gymdeithas Ef heb ddal gobaith yr Efengyl. Gwel yr awdwr o hyd y gwrthgyferbyniad rhwng y ffaith ddelfrydol a'i sylweddoliad mewn profiad. Y mae yn bod, ac eto y mae i ddod, a hynny ar amodau.

*Ddechreuad ein hyder*: Naill ai yr hyder oedd gennym ar y dechreuad, neu ynte yr hyder amherffaith sydd wedi dechreu, ac sydd i gynhyddu hyd nes cyrraedd ei ddiwedd a'i nôd. Feallai mai dynodi yn syml ddau eithaf-bwynt y bywyd ysprydol y mae'r geiriau *dechreuad* a *diwedd.* Y gair a gyfieithir *hyder* a gyfieithir yn *berson* yn $1^{3}$ (Gwel nodiad). O'r ystyr o *sylwedd* daeth yr ystyr o *gryfder* a *hyder.* Ceir y gair yn yr un ystyr yn 2 Cor. $9^{4}$ $11^{7}$, ac yn aml mewn Groeg diweddar.

*Hyd y diwedd*: Gwel ar adn. 6.

**15.** *Tra y dywedir, &c.* Gwel ar adn. 7 a 8. Anhawstra yr adnod hon yw ei chysylltiad â rhediad yr ymresymiad. Cynhygir llawer ffordd: (1) Ei gwneud i ddechreu paragraph a'i chysylltu â $4^{1}$, gan osod 16-19

15 Tra y dywedir, Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonnau, megis yn y cyffrôad.

---

rhwng cromfachau: hollol anaturiol. (2) Ei chysylltu â'r adnod ddilynol: **"Tra y dywedir . . . . canys hwy a'i digiasant** Ef?" Y mae "canys" yn adnod 16 yn erbyn hyn. (3) Cymeryd yr adnod ar ei phen ei hun, y rhan gyntaf fel dyfyniad, a'r ail fel cymhelliad yr awdwr: **"Tra y dywedir . . . na chaledwch," &c.** Ond nid yw yn debyg y gwahanai'r awdwr felly ddwy ran y dyfynniad. (4) Ei chysylltu ag adnod 13, gan osod adnod 14 rhwng cromfachau. Tipyn o ail-adrodd yw hi felly; ac ni ddylid gosod cromfachau os gellir eu hosgoi. (5) Ei chysylltu â'r adnod flaenorol: **"Canys fe a'n gwnaed, &c. . . . os daliwn . . . tra y dywedir,"** h.y., os parhawn yn ffyddlon cyhyd ag y bo rhybudd Duw yn swnio yn ein clustiau: anogaeth ydyw i ddal yn ffyddlon, oblegyd fod rhybudd Duw i'n cynorthwyo. Y mae'r cysylltiad yn ddigon naturiol, ac nid oes un rhwystr i dderbyn hwn. Felly y golygai'r Cyf. Cym. a'r C.S.

**16-19.** Mewn cyfres o ofyniadau ac atebion, cymhwysir yn awr hanes y genedl yn yr anialwch at achos yr "Hebreaid," i ategu cymhellion a rhybuddion adnodau 12-15. Dychwel yr awdwr drachefn a thrachefn at y mater, oblegyd y gwelai yn ymddygiad a thynged y genhedlaeth gyntaf o Israeliaid a waredwyd o'r Aifft berygl y genhedlaeth gyntaf o Gristionogion yn yr eglwys hon. Sylwa Peake, fel y mae'r meddwl (sef y desgrifiad o bechod a chosb Israel) yn symud ymlaen o ddrwg i waeth trwy'r pedair adnod. "(1) Digiodd holl Israel yr Arglwydd er iddi glywed ei lais, a chymeryd y cam cyntaf mewn ufudd-dod; yr oedd y pechod yn dduach am fod y troseddwyr wedi eu gwaredu o'r Aifft, ac wedi gweled rhyfeddodau eu mynediad allan (adnod 16). (2) Am eu pechodau gorffwysodd digofaint Duw arnynt ddeugain mlynedd, hyd nes llanw'r anialwch a'u celaneddau (adn. 17). (3) Parodd eu hanufudd-dod i Dduw dyngu na chaent fyned i fewn i'w orffwysfa Ef (adn. 18). (4) Gwraidd yr holl fethiant oedd anghrediniaeth (adn. 19)."

16 Canys rhai, wedi gwrandaw, a'*i* digiasant *ef*: ond nid pawb a'r a ddaethant o'r Aipht trwy Moses.

17 Ond wrth bwy y digiodd efe ddeugain mlynedd? onid wrth y rhai a bechasant, y rhai y syrthiodd eu cyrph yn y diffaethwch.

18 Ac wrth bwy y tyngodd efe, na chaent hwy fyned i mewn i'w orphwysfa ef; onid wrth y rhai ni chredasant?

19 Ac yr ydym ni yn gweled na allent hwy fyned i mewn o herwydd anghrediniaeth.

---

**16.** *Canys rhai.* Llawer gwell cyfieithu fel y C.S.D. **"Oblegyd pwy wedi gwrandaw a enynasant lid [Duw]? Onid pawb ar a ddaethant o'r Aifft trwy Moses?"** Yn y Groeg gwreiddiol ysgrifenasid y geiriau am "rhai" ac am "hwy" yn hollol yr un fath. Anghyson â rhediad yr ymresymiad yw dweyd mai rhai neu ychydig allan o lawer a bechasant; dywedasid o'r blaen fod Duw wedi digio wrth y "genhedlaeth honno" (adn. 10), a'r pwynt yw fod yr holl dyrfa a gafodd y breintiau ac a ddechreuodd ufuddhau, wedi pechu a chael ei chosbi. Mewn cynifer nid oedd y ddau eithriad, Caleb a Joshua, yn ddigon pwysig i son am danynt.

**17.** *Deugain mlynedd*: Y mae'r geiriau yn eu lle priodol fel yn Salm 9[5,10]; gwel ar adn. 8 a 9.

*Y rhai a bechasant*: deffiniad mwy pendant o ddigio Duw (adn. 16), a'r rheswm paham y digiodd Duw wrthynt hwythau.

*Cyrff*: llyth. **Aelodau,** gydag awgrym, feallai eu bod wedi marw trwy ddadfeiliad graddol, a'u haelodau wedi syrthio bob yn un ac un oddiwrth eu cyrff. Ystyr y gair yn yr Hebraeg yw **celain.** Ceir y frawddeg yn gyfan yn Num. 14[29].

**18.** *Ni chredasant*: Yn hytrach **nid ufuddhasant,** deffiniad mwy arbennig o'r pechu (adn. 17). Gwel ar adn. 11.

**19.** *Ac yr ydym ni yn gweled*: Oddiwrth yr hanes trwy yr ymresymiad blaenorol.

IV. 1 OFNWN gan hynny, gan fod addewid wedi ei adael *i ni* i fyned i mewn i'w orphwysfa ef, rhag bod neb o honoch yn debyg o fod yn ol.

---

*Na allent*: O herwydd anghrediniaeth, yr oeddynt yn rhy wan a llwfr i oresgyn yr anhawsterau a'r gelynion oedd ar eu ffordd i Ganaan. Ni enillir gwlad ar y ddaear nac yn y nefoedd heb y gwroldeb sydd yn codi o ffydd.

*Anghrediniaeth* yw ffurf fwyaf arbennig ac egwyddor hanfodol yr oll a grybwyllwyd yn barod, digio Duw, pechu, ac anufuddhau.

### iv. Anogaethau i Ffyddlondeb. 4[1-13].

Methodd yr Israeliaid fyned i mewn i'r orffwysfa addawedig o herwydd eu hanghrediniaeth, ond nid yw'r addewid wedi ei thynnu yn ol, nac ychwaith wedi ei chyflawni. Y mae yn aros i ni. Nid yw methiant hir yr Israeliaid yn golygu nad oes orffwysfa. Yn hytrach y mae'r credinwyr yn awr yng ngafael â hi; a dengys Duw ei bod i'w chael wrth ei fod yn gomedd i'r Israeliaid fyned i mewn iddi. Heblaw hynny, gorffwysodd Duw ei hun ar ol creu'r byd. A chan nad aeth y rhai gafodd yr addewid gyntaf i fewn iddi, rhydd Duw eto gyfle arall. Gwir i Joshua arwain y Genedl i Ganaan, ond nid honno oedd y wir orffwysfa, oblegyd ymhen amser maith wedi hynny, cyhoedda Duw ei addewid drachefn, ac y mae'r orffwysfa yn aros yn ystôr i'r credinwyr, gorffwysfa fel eiddo Duw ei hunan. Ond y mae eto berygl ei cholli trwy anghrediniaeth, oblegyd y mae gair Duw yn graff a grymus i ganfod a chosbi pob anghrediniaeth. Dengys yr ymresymiad gofalus yn y bennod hon fod He wedi ei ysgrifennu at ddynion oedd mewn perygl, nid o syrthio yn ol i Iddewaeth, ond o golli gafael ar bob gobaith ysprydol.

1. *Ofnwn gan hynny*: Gwyliwn yn bryderus, oblegyd i'r Israeliaid trwy anghrediniaeth golli'r orffwysfa, ac oblegyd fod addewid am dani yn aros i ni, a'r un pergyl i ninnau ei cholli. *Ofnwn* ni y genhedlaeth bresennol, cyfangorff y credinwyr.

2 Canys i ninnau y pregethwyd yr efengyl megis ag iddynt

---

*Addewid wedi ei adael*: Wedi ei rhoddi ac yn aros, ond heb ei chyflawni, oblegyd nad aeth Israel i fewn i'r wir orffwysfa (cf. 11[39,40]). Profir y gosodiad hwn yn yr adnodau dilynol.

*I fyned i mewn i'w orffwysfa ef*: Hon yw y brif addewid, yr hon a gynnwys bob peth, oblegyd yn y syniad o *orffwysfa* gesyd yr awdwr yn awr swm iachawdwriaeth, nôd uchaf y bywyd ysprydol a'r daioni pennaf. Nid Canaan mwyach, canys fe aeth Joshua a'r genedl i Ganaan, ond ni chawsant orffwysfa (adn. 8). Oblegyd ymhen canrifoedd wedi hynny y mae Duw "yn Dafydd" yn ei chynnyg hi drachefn (adn. 7). Gwel Adnodiad E.

*Neb o honoch*: Gwel ar 3[12]: **Chwi**, nid ni yma. Am ei ddarllenwyr y prydera.

*Yn debyg i fod yn ol*: Anawdd cyfieithu na deall y frawddeg wreiddiol. Beth sydd i'w ofni? Cynhygir pedwar atebiad:

(1) Syrthio'n fyrr o'r addewid. Cyfieithir "**Rhag bod neb o honoch yn debyg i fod wedi syrthio'n fyrr [ohoni]**; a golygir mai ffordd dyner o ddweyd, "ofnwn rhag bod un o honoch **wedi** methu," yw dwyn i fewn y gair "yn debyg;" ond rhy ddiweddar yw ofni wedi methu.

(2) Ymddangos fel pe wedi syrthio'n fyrr; gochelwch bob rhith anghrediniaeth; cyfieithir fel (1). Ond delia'r awdwr â chyflwr ac nid â rhith.

(3) "**Rhag i neb o honoch dybied ei fod wedi syrthio'n fyrr**:" h.y. rhag i chwi anobeithio ac anghredu, a thybied ei bod yn rhy ddiweddar i dderbyn yr addewid.

(4) "**Rhag barnu neb o honoch** (yn y dydd diweddaf) **ei fod wedi syrthio'n fyrr.**" Caniata'r Groeg unrhyw un o'r cyfieithadau hyn, a rhydd y ddau olaf synwyr da, a'r olaf feallai sydd yn ateb oreu i sobrwydd y rhybudd.

**2.** *Pregethwyd yr Efengyl*: llyth. **Cyhoeddwyd newyddion da: efengylwyd ninnau hefyd megis hwythau**: Yn ei hanfod ysprydol y mae'r un addewid ac efengyl mewn grym o ddyddiau'r Israeliaid hyd yn awr.

hwythau: eithr y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'*i* clywsant.

---

*Ni bu fuddiol*: Ni chawsant elw o hono.

*Am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant*: Ceir dau ddarlleniad Groeg yn y fan hon: (1) Un a gyfieithir **am nad ydynt wedi eu huno trwy ffydd â'r rhai a glywsant** (felly C.S.D.): Ategir y darlleniad hwn gan y mwyafrif o'r hen lawysgrifau; golyga felly fod yr Israeliaid anufudd heb eu huno trwy ffydd â'r rhai ufudd (y rhai a glywsant), sef â Caleb a Joshua. Ond nid "ufuddhau" yw ystyr y gair a gyfieithir "clywed" yn y mannau ereill lle y ceir ef yn y bennod hon. Ac yn y bennod flaenorol, dywedodd yr awdwr fod yr holl genhedlaeth honno o Israeliaid yn anufudd, heb wneud cyfrif o'r eithriadau, ac anhebyg yw y buasai yn awr yn gwneud sylw mor arbennig o honynt. (2) Cyfieithir yr ail ddarlleniad: **am nad oedd [y gair] wedi ei uno** (*a*) **â ffydd yn y rhai a glywsant** (fel y Cyf. Cym.) neu (*b*) **trwy ffydd â'r rhai a glywsant.** Golyga'r cyntaf (*a*) y buasai ffydd yn y gwrandawyr wedi gafaelu yn y gair, a'r ail (*b*) y buasai ffydd fel cyfrwng yn cymhathu'r gair â'r gwrandawyr. Yr olaf yw'r cyfieithad mwyaf naturiol, er nad yw'r naill na'r llall heb anhawster. Ychydig lawysgrifau sydd yn ategu'r darlleniad hwn, ond y mae eu hawdurdod yn lled dda, a rhydd lawer gwell synwyr na'r darlleniad cyntaf. Ond gall fod y darlleniad gwreiddiol wedi ei golli yn llwyr. Y mae ystyr gyffredinol y frawddeg yn ddigon eglur, sef fod diffyg ffydd yn yr Israeliaid wedi eu hatal i gael elw o'r gair a glywsant.

3. Nid yw cysylltiadau'r adn. hon yn glir iawn ar y wyneb. Dilyna'r frawddeg yn ddigon naturiol ar ol adn. 2, ond nid yw mor eglur sut y mae'r dyfynniad o Salm 95 yn profi gwirionedd yr adran gyntaf fel yr awgryma'r geiriau *megis y dywedodd Efe*. Daw yr ystyr i'r golwg wrth sylwi ar y defnydd a wna yr awdwr o'r dyfynniad yn nes ymlaen (adn. 5, 7, 8), sef fod gwaharddiad digofus Duw

3 Canys yr ydym ni, y rhai a gredasom, yn myned i mewn i'r orphwysfa, megis y dywedodd efe, Fel y tyngais yn fy llid, Os ânt i mewn i'm gorphwysfa i: er bod y gweithredoedd wedi eu gwneuthur er seiliad y byd.

---

i'r Israeliaid diffydd fyned i mewn, yn tybied ac yn profi fod gorffwysfa i'r ffyddiog. Dysga adn. 3 ddau wirionedd, sef (1) fod gorffwysfa, ac (2) mai credinwyr sydd yn ei chael hi. Gosodir y ddau wirionedd yn gyntaf mewn ffordd gadarnhaol: (1) *Yr ydym ni yn myned i mewn*, (2) *ni y rhai a gredasom*; ac yn ail mewn ffordd nac-haol. (1) Ataliodd Duw yn ei lid yr Israeliaid i fyned i mewn i'w orffwysfa Ef, a thybia hynny fod gorffwysfa, ac mewn gwirionedd yr oedd hi yn barod *er seiliad y byd*. (2) Anghrediniaeth yr Israeliaid a'u hamddifadodd o honi.

*Yn myned i mewn*: Dyma engraifft arall o ddeuoliaeth Blatonaidd yr awdwr; y mae'r orffwysfa yn berffaith erioed yn myd y sylweddau delfrydol, ond Duw yn unig sydd wedi ei sylweddoli hi; o'r tu arall y mae'r credinwyr, er heb ei chael, yn gyson a graddol yn myned i fewn iddi. (Gwel Adnodiad E).

*I'r orffwysfa*: Diau fod yr "Hebreaid" mewn perygl o ameu a oedd gorffwysfa o gwbl. Pan edrychent yn ol dros ganrifoedd anesmwyth hanes eu cenedl, brwydrau ac ymdrechion, methiant a siomiant yn unig a welent; ac nid oedd Cristionogaeth wedi dwyn iddynt brofiad gwell; er disgwyl teyrnas y Messiah ac ail-ddyfodiad buan yr Arglwydd, dieithriaid a phererinion oeddynt, mewn pryder a phoen o dan erlidigaethau blinion. Dyna paham y cymer yr awdwr gymaint trafferth i brofi fod gorffwysfa, a rhydd dri rheswm: (1) fod y rhai sydd yn credu mewn meddiant o honi yn barod; (2) fod yr ysgrythyr yn dangos y buasai'r Israeliaid wedi ei meddiannu oni buasai am eu hanghrediniaeth; (3) fod Duw ei hun wedi gorffwys.

*Os ant*: h.y. **nid ant**; gwel ar 3[11] lle y mae'r Groeg yn hollol yr un fath.

*Y gweithredoedd wedi eu gwneuthur*: Creadigaeth y byd wedi ei orffen a'r orffwysfa'n barod (Gen. 2[2]).

4 Canys efe a ddywedodd mewn man am y seithfed *dydd* fel hyn: A gorphwysodd Duw y seithfed dydd oddi wrth ei holl weithredoedd.

5 Ac yma drachefn, Os ânt i mewn i'm gorphwysfa i.

6 Gan hynny, gan fod hyn wedi ei adael, fod rhai yn myned i mewn iddi, ac nad aeth y rhai y pregethwyd yn gyntaf iddynt i mewn, o herwydd anghrediniaeth;

---

*Er seiliad y byd*: Gwel yr un frawddeg yn $9^{26}$ "er dechreuad y byd," ac hefyd yn Mt. $13^{35}$ $25^{24}$ Luc $11^{50}$ Dat. $13^{8}$ $17^{8}$. Sonir am y cread o dan y ffigyr o adeiladu tŷ, ac yn fanwl, golyga'r frawddeg ddechreu creu trwy osod i lawr y sylfaen, ond defnyddid hi yn gyffredinol am holl waith y creu.

4. *Efe* sef Duw: gwel ar $2^{6}$, ac Adnodiad C.

*Y seithfed* [*dydd*]: Nid y Saboth fel sefydliad crefyddol sydd ym meddwl yr awdwr, ond y seithfed dydd yn nhrefn creadigaeth y byd—y Saboth fel ffaith dragwyddol am Dduw ei hunan.

*A gorffwysodd, &c.*: Gen. $2^{2}$, cf. Ex. $20^{11}$, $31^{17}$: Dyma engraifft nodedig o'r dull Alecsandraidd o ddyfynnu a defnyddio geiriau'r Ysgrythyr. Amcan y geiriau yn Gen. 2 yw dweyd fod Duw wedi gorffen creu ac wedi sefydlu'r Saboth, ond darllena'r awdwr i fewn i'r geiriau ei holl athrawiaeth am yr orffwysfa dragwyddol. Gwel Adnodiadau C ac E.

5. *Drachefn*: **o'r ochor arall**: Dyma gymal arall yr ymresymiad, ac ail-adroddir ef (o adn. 3), nid yn unig am ei fod yn ategu adn. 4 *fod* gorffwysfa, ond am y dengys hefyd nad aeth yr Israeliaid i fewn iddi, ac felly arweinia ymlaen i'r casgliad pellach fod yr orffwysfa eto yn aros i bobl Dduw i'w meddiannu hi.

6. *Gan fod hyn wedi ei adael*: Wedi ei roddi heibio, ac felly yn aros fel cynhysgaeth yr addewid heb ei ddihysbyddu, sef fod yr addewid yn parhau yn ei grym ond heb ei chyflawni, fel y dengys y geiriau dilynol:

7 Trachefn, y mae efe yn pennu rhyw ddiwrnod, gan ddywedyd yn Dafydd, Heddyw, ar ol cymmaint o amser; megis y dywedir, Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd ef, na chaledwch eich calonnau.

---

*Fod rhai yn myned i mewn iddi*, sef y credinwyr, adn. 3; neu gellir cyfieithu **Fod rhai i fyned i mewn iddi,** oblegyd nas gall addewidion a pharatoadau Duw fethu; er

*Nad aeth y rhai y pregethwyd yn gyntaf iddynt i mewn*: Gwel ar adn. 2.

*Anghrediniaeth*: **Anufudd=dod**: Y gweithredoedd neu'r yspryd gwrthryfelgar sydd yn ffrwyth anghrediniaeth.

**7.** *Trachefn y mae efe yn pennu*: Yn hytrach, **y mae efe yn pennu drachefn**: Rhed adn. 7 yn gyfatebol i adn. 6, gan ddibynnu ar "am hynny" ar ddechreu adn. 6. "Am hynny," gan fod yr addewid yn ei grym, ac heb ei chyflawni, "y mae efe yn pennu" cyfle newydd.

*Pennu rhyw ddiwrnod*: Gosod terfynau neu farcio allan rhyw ddiwrnod, rhyw "Heddyw" newydd, yn gyfleustra presennol i dderbyn yr addewid, h.y., yn amser ysgrifeniad y Salm, ond diau fod yr awdwr hefyd yn cario'r "Heddyw" ymlaen i gyfnod yr efengyl. Gwel ar 3[7].

Gwell cyfieithu'r frawddeg nesaf fel y gwna'r C.S.D. ar ymyl y ddalen: **Heddyw, gan ddywedyd yn Dafydd, ar ol cymaint o amser, &c.**

*Yn Dafydd*: Naill ai derbynia'r awdwr draddodiad yr LXX. am awduraeth y Salm, neu cymer enw Dafydd fel desgrifiad cyffredinol o'r Salmau. Gwel ar 3[7-11] ac Adnodiad C.

*Ar ol cymaint o amser*: Sef o adeg anghrediniaeth yr Israeliaid yn yr anialwch hyd amser cyfansoddiad y Salm, neu, gan fod yr awdwr yn cario'r "Heddyw" i lawr i'w amser ei hunan, golyga na chaed yr orffwysfa o Moses hyd Grist.

*Megis y dywedir*: **fel y dywedwyd o'r blaen.** 3[7,15].

8 Canys pe dygasai Jesus hwynt i orphwysfa, ni soniasai efe ar ol hynny am ddiwrnod arall.

9 Y mae gan hynny orphwysfa *etto* yn ol i bobl Dduw.

---

8. Gwrth-ddadl naturiol i haeriad yr awdwr, fod yr orffwysfa yn aros am nad aeth yr Israeliaid anufudd i fewn iddi, fyddai cyfeirio at y ffaith hanesyddol i'r genhedlaeth nesaf o Israeliaid fyned i Ganaan; ac atebiad i'r fath wrth-ddadl yw adn. 8. Er i Joshua eu harwain i Ganaan, nid arweiniodd hwynt i'r wir orffwysfa, neu ni buasai Duw yn cynnyg cyfle newydd ar ol cymaint o amser yn Salm 95. Y mae ffordd yr awdwr o ddadleu'r pwynt hwn yn nodweddiadol. Gallasai fod wedi cyfeirio at hanes Israel o Joshua hyd Grist, ei rhyfeloedd, ei chaethglud, ei dinystr a'i gwasgariad, fel prawf na chawsant wir orffwysfa yng Nghanaan; ond nid oedd iddo ef fawr ddyddordeb mewn hanes. Wedi cael syniadau boddhaol, digon oedd ganddo eu hategu yn y dull Alecsandraidd o'u cysylltu â rhyw ddarn o'r HD.

*Jesus*: Mae yn eglur wrth y cysylltiadau mai **Joshua** a olygir, a llawer gwell fyddai gosod yr enw yn y ffurf hon. Ffurf Ladinaidd yw *Jesus* ar y gair Groeg a gyfieithir Iesu, a ffurf Roegaidd yw hwnnw ar yr Hebraeg **Joshua.**

9. Pen ar yr holl ymresymiad yw: **Y mae cadw Saboth yn aros yn ystôr i bobl Dduw.** Wedi cysylltu gorffwysfa Duw â'r seithfed dydd yn nhrefn y creu yn adn. 4, gelwir gorffwysfa'r saint yn awr yn **gadw Saboth** *(Sabbatismos)*. Ni cheir y gair hwn yn unlle arall yn yr LXX. na'r TN. Er fod y Saboth Iddewig yn ddiau ym meddwl yr awdwr, nid cymharu gorffwysfa'r saint â hwnnw yw ei amcan, ond ei hunoli â gorffwysfa Duw (cf. adn. 4 a 10). Arferai'r Rabbiniaid son am y Saboth fel patrwm o'r byd a ddaw. Ond yma, nid y nefoedd tudraw i'r bedd a olygir. Gwel Adnodiad E.

*Yn ol*: **yn aros heb ei dihysbyddu**: yr un gair a gyfieithir *wedi ei adael* yn adn. 5.

10 Canys yr hwn a aeth i mewn i'w orphwysfa ef, hwnnw hefyd a orphwysodd oddi wrth ei weithredoedd ei hun, megis *y gwnaeth* Duw oddi wrth yr eiddo yntau.

11 Byddwn ddyfal gan hynny i fyned i mewn i'r orphwysfa honno, fel na syrthio neb yn ol yr un siampl o anghrediniaeth.

---

*I bobl Dduw*: Y gwir Israel, y credinwyr Cristionogol a aethent i fewn i etifeddiaeth pobl etholedig yr HD. Nid mewn cyflwr unigol, ond mewn cymdeithas ysprydol o *bobl* y sylweddolir yr orffwysfa.

**10.** Eglura'r adn. hon paham y gelwir gorffwysfa'r saint yn "gadw Saboth," a dengys ar yr un pryd rywbeth o'i natur.

*I'w orphwysfa ef*, sef Duw. Fel y sylweddolodd Duw ei amcan yng ngwaith y cread, ac y gorffwysodd yn y sylweddoliad, felly y gwna dyn pan sylweddolo yntau nôd ei fywyd, ei ddaioni pennaf yng ngorffwysfa Duw. Gosodir *myned i fewn* a *gorffwys* fel dwy weithred sydd yn digwydd gyda'u gilydd ar un amrantiad *(aorist tenses)*. Mynegi egwyddor gyffredinol a wna'r adn., ac nid oes sail i dybied fod ynddi un cyfeiriad at saint yr HD, nac at Iesu Grist. Pe bwriadasai'r awdwr ddweyd hyn am Grist, gwnaethai hynny yn ddiamwys, fel mewn gwirionedd y gwna yn adn. 14.

**11.** Yn adn. 1 rhybuddiwyd yr "Hebreaid" i "ofni bod yn ol," ac yn awr wedi cael golwg well ar yr orffwysfa, cymhellir hwy i "fod yn ddyfal," i frysio myned i fewn i'r fath orffwysfa.

*Fel na syrthio neb yn ol yr un siampl*: h.y., fel na syrthio neb i ddinystr trwy fethu myned i'r orffwysfa, fel y syrthiodd yr Israeliaid yn yr anialwch, ac felly roddi yr un fath siampl ag a roisant hwy. Cyfieitha'r C.S.D. ar ymyl y ddalen, gyda llawer o esbonwyr: *Fel na syrthio neb* i'r *un siampl*, h.y., fel na bo neb yn syrthio i anufudddod yr Israeliaid, ac felly yn rhoddi yr un fath siampl â hwy. Y cyntaf sydd fwyaf naturiol.

*Anghrediniaeth*: **Anufudd-dod.** Gwel ar adn. 6.

12 Canys bywiol *yw* gair Duw, a nerthol, a llymach nag un cleddyf dau-finiog, ac yn cyrhaeddyd trwodd hyd wahaniad yr

---

**12,13.** Mewn geiriau sobr a grymus, atega'r awdwr ei holl rybuddion trwy ddangos fod yn amhosibl twyllo Duw, oblegyd fod ei air ef yn canfod ac yn barnu syniadau mwyaf dirgel y bywyd mewnol.

*Gair Duw*: Trwy yr hwn y llefarodd efe gynt trwy y proffwydi, ac yn y dyddiau diweddaf trwy ei Fab (1[1]), y gair cadarn a lefarwyd trwy angylion (2[2]), y gair a glybuwyd gan yr Israeliaid (4[2]), hwn oedd cyfrwng addewidion a rhybuddion Duw, ac efe hefyd yw cyfrwng ei farn. Tybiai'r hen esbonwyr Groeg a Lladin mai'r gair personol, Iesu Grist, a olygir. Ond nid yw He wedi cyrraedd yn hollol safbwynt Ioan, ac unoli Crist â'r gair, er ei fod yn lled agos. Priodola i'r gair fywyd, ewyllys a barn, ac mor agos yw i fod yn berson fel y llithra yn anymwybodol oddiwrtho at Dduw ei hunan yn adn. 13. Ond datguddiad a gweithrediad Duw ydyw. Cyflawna waith a briodolir i'r Mab mewn rhannau ereill o'r T.N., ond nid yw He wedi gorffen deffinio cylch swyddogaeth y Mab i gynnwys holl weithrediadau'r gair hwn. Ni phriodola i'r Mab le'r barnwr fel y gwneir yn yr Efengylau, na'r hanfodaeth ddirgeledig o fewn dynion a briodolir iddo gan Paul a Ioan, ac felly y mae cylch gweithrediad gair Duw yn ehangach ac yn fwy mewnol nag eiddo'r Mab. Er hynny, y mae llawer o ddelw athrawiaeth y gair yn Philo ar yr adnodau hyn. Priodolai yntau i'r Gair neu'r Rheswm dwyfol fywyd, ewyllys a deall; personolai ef a gwnai ef yn gyfrwng ymwneud Duw â dynion. Elfen oedd a lifai allan o Dduw ac a drigai mewn dynion, ar unwaith yn egwyddor eu bywyd rhesymol, ac yn rhywbeth mwy ac uwchlaw iddi. Mewn un man arbennig, desgrifia Philo y Gair fel torrwr llym oedd yn gwahanu holl rannau'r crëad oddiwrth eu gilydd. Y mae ol dylanwad "Doethineb Solomon" hefyd i'w weled ar yr adnodau hyn. Dywed hwnnw am ddoethineb, ei bod yn "yspryd tenau, cyflym, llym, yn myned trwy bob yspryd deallgar, bywiocach na dim bywiog, ac a dreiddia trwy bob peth,"

enaid a'r yspryd, a'r cymalau a'r mêr; ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon.

---

&c. (7[22-24]). Trachefn: "Dy hollalluog air di a neidiodd o'r nef . . . . . gan arwain dy orchymyn diragrith di yn lle cleddyf llym" (18[15-16]). (Gwel Adnodiadau A a D, a Rhag. VI.3

Sylwa Westcott fod y nodweddion a briodolir i'r gair yn y fan hon yn datblygu o'r cyffredinol i'r personol yn yr enaid—bywyd, gweithrediad, treiddgarwch a barn.

*Bywiol*: **byw**: Oblegyd bywyd Duw yn mynegi ei hunan ydyw. Y mae yn anfarwol, ac felly yn parhau yn ei rym trwy yr holl oesau, ac hefyd yn meddu holl adnoddau ac effeithiolrwydd bywyd, a dengys y geiriau dilynol beth yw rhai o honynt. (cf. 1 Pedr, 1[23,25]: Duw byw: He 3[12], 9[14], 10[31], 12[22]; Oraclau byw: Act 7[38]; bara byw: Ioan 6[51]; geiriau y bywyd: Ioan 6[63,68]).

*Nerthol*: llyth. **yn gweithredu gallu**: Nid yn unig yn meddu nerth, ond yn ei roddi allan mewn gwaith: efe sydd yn cynhyrchu argyhoeddiadau ac euogrwydd, ofnau a gobeithion ym meddwl **dyn.**

*Llymmach, &c.*: llyth. **yn torri yn fwy**: Cleddyf dau-finiog yw cleddyf a min ar bob ochr iddo, ac felly yn torri yn hawdd i bob cyfeiriad. (cf. Dat. 1[16], 2[12]; Es. 49[2]; Eph. 6[17]). Ceir y syniad yn Philo, a lled debyg mai ei fenthyca a wnaeth He oddiwrtho; dywed fod Duw trwy ei air "yn torri ac yn gwahanu rhannau cyfansawdd pob corff a phob gwrthrych sydd yn ymddangos yn unedig, a chan ei fod wedi ei awchlymu hyd yr eithaf, ni pheidia byth a threiddio trwy bob gwrthrych teimladwy, ac wedi iddo fyned trwyddynt at y pethau a elwir yn ronynau, ac yn anwahanedig, yna drachefn tyrr yr offeryn awch hwn y pethau a genfydd y rheswm yn rhannau aneirif."

*Yn cyrhaeddydd trwodd*: Yn **treiddio** neu yn **gwanu** trwodd.

*Hyd wahaniad, &c.*: sef i leoedd mwyaf dirgel bywyd dyn. Ceir llu o wahanol farnau am ystyr fanylach y frawddeg. Y ddau brif gwestiwn ydynt: (1) pa un ai gwahanu *rhwng* enaid ac yspryd a chymalau a mer a olygir, neu wahanu neu ddadansoddi pob un o honynt i'w rannau cyfansawdd? Yr olaf yw syniad Philo, a hwn ddaw yn fwyaf naturiol o'r geiriau hyn. (2) Pa un a ddylid cymeryd *cymalau a mer* yn llythyrennol neu yn ffigurol, ac, os y blaenaf, ai ni ddylid newid y drefn a chyfieithu, **yn treiddio trwy y cymalau a'r mer hyd nes dadansoddi yr enaid a'r yspryd?** Hwn yw'r ystyr gyfetyb i syniad Philo. Fel arall, y mae disgynneb anaturiol o *yspryd* i *gymalau a mêr*; ond osgoir hi wrth gymeryd y geiriau olaf yn ffigurol, a chyfieithu **yn treiddio hyd ddadansoddiad yr enaid a'r yspryd, ïe, eu cymalau a'u mêr,** sef eu rhannau mwyaf mewnol. Lled debyg nad oedd gwahaniaethau cywrain yr esbonwyr o flaen meddwl yr awdwr o gwbl, ac mai defnyddio brawddeg hyawdl a wnaeth i fynegi syniad oedd wedi ddysgu gan Philo, fod gair Duw yn treiddio trwy holl natur dyn, yn ysprydol a materol. (Gwel nodiad manwl T. C. Edwards).

*Enaid ac yspryd*: Ymddengys y mabwysiadir yr un rhaniad o natur dyn ag eiddo Paul yn 1 Thess. 5[23], corff, enaid ac yspryd. Y rhan faterol yw'r *corff*. Yr *enaid* yw egwyddor gyffredinol bywyd, yr hon sydd gyffredin i ddyn ac anifail, ond cyrhaedda i gylch uwch mewn dyn; yr *yspryd* yw yr egwyddor resymol mewn dyn, yr hon sydd yn ei godi uwchlaw'r anifail i gymundeb â Duw. Ni chedwir y gwahaniaeth hwn rhwng enaid ac yspryd o hyd yn glir yn y T.N.; ac yn athroniaeth Groeg hyd y drydedd ganrif CC. yr oedd iddynt yr ystyrron gwrthgyferbyniol; yr yspryd oedd yr egwyddor isaf, a'r enaid yr uchaf. Ystyr wreiddiol y ddau air yn y Gymraeg a'r Groeg oedd "anadl" neu "wynt."

Yn *barnu*: **yn abl i farnu**: C.S.D., **yn gyflym i ganfod.** *Meddyliau a bwriadau* neu **syniadau**; brawddeg gyffredinol i fynegi holl gynnwys a gweithrediad yspryd dyn.

Y *galon*. Gwel ar 3[10].

13 Ac nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef: eithr pob peth *sydd* yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef am yr hwn yr ydym yn sôn.

---

**13.** Newidir y ffigyr yn awr i ddangos agwedd arall ar hollwybodaeth Duw. Ei air oedd yn holi, canfod a a barnu holl ddirgelion bywyd mewnol dyn, ond ei lygaid sydd yn cynywair trwy yr holl grëad ac yn gweled pob peth fel y maent.

*Greadur*: **peth crëedig.**

*Anamlwg*: **cuddiedig o'i olwg.**

Yn *ei olwg*: llyth. **o flaen ei wyneb.**

*Ef*, sef Duw yn ol y farn gyffredin, oblegyd fod y tair brawddeg *yn ei olwg*, *i'w lygaid*, ac *am yr hwn yr ydym yn son*, oll yn tybied person. Ond nid yw yn amhosibl fod yr awdwr yn personoli'r gair i'r graddau hyn. Yn Philo, saif y gair yn aml ar ryw dir canol, rhwng bod yn berson a pheidio, ac hefyd rhwng bod yn un â Duw ac ar wahan iddo; ac felly yma, llithra'r gair i fod yn berson, a'r hyn a wahaniaethir oddiwrth Dduw yn adn. 12, i fod yn un ag ef yn yr adn. hon. Gan nad yw yr awdwr wedi gwneud y llinell wahaniaethol yn glir, cam fyddai gwneud hynny drosto.

*Noeth*: Nid oes lèn na gorchudd i atal Duw i weled pethau fel y maent.

*Agored*: llyth. **wedi gafael yn eu gwddf** (*seized by the throat*), fel y gwna ymladdwyr yng ngyddfan eu gilydd. Ond sut daw hynny i olygu *agored?* Dywed rhai mai cyfeiriad sydd at flingo gyddfau anifeiliaid i'w haberthu: eraill, mai at gydio yng ngwddf troseddwr yn y ddienyddfa a'i wasgu yn ol hyd nes peri iddo ddangos ei wyneb. Diau i He gael y gair o Philo, yr hwn a'i defnyddia yn aml gyda'r ystyr o "daflu un ar ei hyd ar y llawr fel y gwna codymwr" ("llorio" T.C.E., llawer gwell na "gwargrymu" a geir yn ei gyfieithad!), ac yn ffigurol am fod yng ngallu neu at drugaredd unrhyw beth,

fel y mae'r gwr ar lawr mewn ymladdfa. Felly golyga yma fod pob peth yn gorwedd at drugaredd llygaid Duw, yn *agored* iddynt edrych arno. Ni ddylid priodoli'r holl ffigyr, ond ei diwedd yn unig, i Dduw. Nid oes awgrym (fel y tybia T.C.E.) fod Duw fel gelyn "wedi rhedeg yn y gwddf i'w wrthwynebydd," ond yn unig nad oes dim a fedr rwystro ei edrychiad ef.

*Am yr hwn yr ydym yn son*: Caniata'r Groeg y cyfieithad hwn, ond y mae yn hollol ddibwynt. Llyth. **tua'r hwn y mae i ni air**: gellir dewis un o ddau gyfieithad: **â'r hwn y mae a wnelom** (C.S.), h.y. â'r Duw hollwybodol hwn y mae holl berthynas a thrafodaeth bywyd dyn; neu **i'r hwn y rhaid i ni roddi cyfrif** (Cyf. Ellmynig), sef mai'r Duw hollwybodol yw barnwr dyn; felly cesglir i ddiweddglo holl fater y ddwy adn.

## ADNODIAD E.

## GORFFWYSFA DUW I'W BOBL.

Rhoddir lle amlycach yn He i'r syniad o orffwys fel diwedd pererindod y credadyn nag yn unlle arall yn y TN. Gwir i'r Arglwydd Iesu, mewn geiriau nodedig, wahodd pawb blinderog a llwythog ato ef i gael gorffwysdra i'w heneidiau (Mt. $11^{27\text{-}30}$); ond y mae'n amlwg mai heddwch mewnol yng nghanol ystormydd bywyd a olyga efe, ac fe sonia yn amlach am ddioddef ac aberthu, gweithio ac ymdrechu, nag am orffwys. Ond yn He 3 a 4, gosodir gorffwysfa fel nôd a therfyn ffydd y Cristion. Geilw hi yn *gadw Saboth* ($4^9$), a diwrnod o roddi heibio bob gwaith, ac atal holl olwynion bywyd oedd y Saboth Iddewig. Cyfyd y cwestiwn felly ai nid yw'r athrawiaeth hon yn He yn gwrthddweyd dysgeidiaeth Iesu Grist a'i apostolion.

1. Yr atebiad cyntaf yw mai un syniad am iachawdwriaeth ymhlith amryw yw hwn yn He. Gesyd yr awdwr allan drefn iachawdwriaeth hefyd fel datguddiad trwy'r Mab, fel teyrnas y Messiah, fel cyfamod trwy offeiriadaeth Crist, yn ogystal ag fel gorffwysfa, a rhaid

cymeryd y rhai hyn oll yng nghyd i gael ei syniad ef yn llawn. Yr hyn sydd ddiffygiol mewnun a'i gymeryd wrtho'i hunan, a geir yn y lleill. Ac yr oedd angen arbennig ar yr "Hebreaid" i gael golwg ar iachawdwriaeth fel gorffwysfa a diogelwch, â hwythau ynghanol erlidiau ac enbydrwydd, ac mewn perygl o syrthio i anghrediniaeth o eisiau golwg ar ddiwedd a diogelwch y ffydd.

2. Ond hefyd, ychydig iawn o liw y Saboth Iddewig sydd ar y syniad. Condemniodd yr Arglwydd Iesu ffurfioldeb diles hwnnw fel peth anheilwng o ddyn, ac atgas gan Dduw. Ac os tybia neb fod He yn dysgu mai amcan a therfyn gwaith iachawdwriaeth yw dwyn dyn yn y diwedd i nefoedd ar gynllun Saboth ffurfiol, negyddol, hunanol a segur yr Iddew, y mae yn camesbonio'r awdwr. Er y sylfaena ei ymresymiad ar ddwy adn. o'r HD, y mae i'w syniad berthynas agosach ag athroniaeth Groeg. Seilia ei ymresymiad yn gyntaf ar addewid Duw i Israel fyned i Ganaan, ond dengys yn fuan nad Canaan oedd yr orffwysfa. Seilia ef yn ail ar y ffaith fod Duw wedi gorffwys ar ol creu'r byd, a geilw ef am hyny yn "gadw Saboth," ond y mae yn eglur oddiwrth athrawiaeth offeiriadaeth Crist, y syniai'r awdwr am breswylfod Duw fel canolfan gwaith diorffwys iachawdwriaeth dragwyddol.

3. Rhedai trwy athroniaeth Groeg ddwy linell o syniadau am fodolaeth a bywyd, y naill mai ffrwd o anesmwythdra a datblygiad oeddynt, a'r llall mai hanfod lonydd oeddynt, heb symud na gwaith na gwahaniaeth ynddynt; a gorchwyl yr athronwyr mwyaf fu ceisio dwyn y ddau syniad hyn i gysondeb â'u gilydd, oblegyd credent fod gwir ymhob un o'r ddau. A ffordd gyffredin i'w cysoni oedd synied am hanfod pob peth fel nôd neu ddelfryd, a alwent yn Dda, neu Ddaioni Pennaf, neu Dduw, yr hyn oedd yn gyflawnder pob perffeithrwydd a digonedd a chynghanedd a boddlonrwydd. Ac yna synient am y byd gweledig yn amrywiol fel cysgod wedi disgyn ar yr hanfod hwn, neu wedi disgyn oddiwrtho, neu fel cwrs o dyfiant yn rhedeg allan o hono neu i fewn iddo. Duw gan hyny oedd achos effeithiol a

therfynol y byd naturiol, egwyddor a nôd y bywyd moesol, dymuniant a digonedd y bywyd crefyddol. Efe, yr hwn oedd grym datblygiad bywyd, nôd ei ymgyrch, a'r amcan a osodai werth ar ei holl weithredoedd, oedd hefyd yr hanfod sefydlog, ddigyfnewid lle y diflannai ymryson ac y teyrnasai heddwch. Ffynnai'r athrawiaeth hon yn arbennig ymhlith dosbarth o ddilynwyr Plato. Dywed Philo mai Duw yn unig sydd yn gorffwys, "ac wrth orffwys" meddai "nid wyf yn golygu llonyddwch, oblegyd nis gall yr hwn sydd wrth natur yn llawn ynni, ac yn achos pob peth, byth beidio gwneud yr hyn sydd fwyaf rhagorol; ond ynni yw heb lafur na phoen, ynni gyda rhwyddineb perffaith . . . Newidia holl elfennau natur o herwydd eu bod yn blino, ond gan na newidia Duw, nid yw byth yn blino, oblegyd, am nad oes wendid ynddo ef, er ei fod yn ysgogi pob peth, ni pheidia byth a mwynhau gorffwysdra."

4. Gwelir y syniad hwn, fod pob peth yn hanes dyn a'r cread yn cyrchu at ryw nôd o berffeithrwydd, rhyw orffwys yng nghyflawnder bodolaeth, yn rhedeg trwy He. Wedi i'r Mab buro pechodau, eistedda ar ddeheulaw'r Mawredd (1[3] 8[1] 10[12] 12[2]); wedi iddo ddysgu ufudd-dod trwy y pethau a ddioddefodd, cafodd ei berffeithio yn Awdwr iachawdwriaeth (1[10] 5[8,9]). Yn ddiwedd ar gwrs maith aberthau yr hen gyfamod, y mae un aberth dros bechodau (10[12]) gan gael i ni dragwyddol ryddhâd (9[12]). Terfyn olyniaeth yr offeiriaid yw un offeiriad tragwyddol yn cwbl iachau (7[24,25]). Diwedd cyfres arwyr ffydd yw fod Duw yn eu perffeithio hwy a ninnau ynghyd (11[40]). Enwau ar yr un nôd o hyd yw "mynydd Sion, dinas y Duw byw, y Jerusalem nefol" (12[22]). A'r enw mwyaf priodol arno yw *gorffwysfa* Duw, lle yr ymfoddlona ac yr ymhyfryda Duw ym mherffeithrwydd ei hanfod ei hunan; a nôd eithaf bywyd dyn yw dod yn gyfrannog o heddwch a digonedd a pherffeithrwydd y bywyd dwyfol, sef myned i mewn i orffwysfa Duw.

5. Ond y mae'r delfryd a'r datblygiad tuag ato yn cyd-fodoli. Y mae Duw yn gorffwys, ac "yn gweithio hyd yn hyn" (Ioan 5[17]). Ac y mae yr un peth yn wir am y credadyn; y mae efe yn cael yr orffwysfa, ac yn

teithio tuag ati. Ac felly y mae dynoliaeth wrth symud o gyfnod i gyfnod, o raddfa i raddfa, o'i datblygiad, yn cael yr orffwysfa, ac eto heb ei chael. Dyna'r esboniad ar wrth-ddywediad ymddangosiadol yr awdwr am Ganaan. Pe y credasai'r Israeliaid yn yr anialwch, cawsent fyned i fewn i Ganaan, gorffwysfa Duw, ond er i'w plant fyned i fewn a'i chael, yr oeddynt eto heb ei chael. Nid yn yr epistol, ond yn hanfod pethau y mae'r gwrth-ddywediad. Ni ddatguddiwyd yn yr HD gyflawnder yr orffwysfa (8[6]), ac ni cha teulu'r ffydd gymeryd llawn feddiant o honi hyd nes gwneud y cylch yn llawn (11[40]). Feallai fod yr awdwr a'i gydoeswyr yng ngoleu ffydd danbaid wedi gweled y Jerusalem newydd yn nes i'r ddaear nag yr oedd hi, oblegyd gormod gorchwyl eto yw dweyd pa bryd y ceir hi'n llawn. Ond digon yw gwybod fod y rhai sy'n credu yn myned i fewn i'r orffwysfa o hyd (4[3]), er fod cadw Saboth o hyd yn aros pobl Dduw.

14 Gan fod wrth hynny i ni Arch-offeiriad mawr, yr hwn a aeth i'r nefoedd, Iesu Mab Duw, glynwn yn *ein* proffes.

---

## III. YR ARCHOFFEIRIAD MAWR. IV.$^{14}$—X.$^{18}$.

### i. Offeiriadaeth Crist yn hyder y Cristion. $4^{14-16}$.

Na ddigalonwn gan roi lle i anghrediniaeth, er ein gwendid ni, a llymder gair Duw, oblegyd y mae Iesu, Mab Duw, yn llawn cydymdeimlad â ni, ac yn barod i'n harwain a'n derbyn wrth orsedd gras.

**14.** *Wrth hynny:* **am hynny**: Cesglir i'r adn. hon holl bwyntiau yr ymdriniaeth flaenorol fel sail i'r offeiriadaeth y cyfeiriwyd ati yn $3^1$, ac sydd yn destyn yr adran ddilynol. Felly, gall y cysylltiad yma fod â'r holl adran flaenorol, ond nid heb gadw golwg ar adn. 12 a 13, a chydio yn ol trwy'r rhybuddion rhag anghrediniaeth, yn yr archoffeiriad yn $3^1$.

*Gan fod i ni*: Ar y geiriau hyn y mae'r pwyslais: Gallant olygu "gan fod gennym yn barod ar ein cyfer" neu "gan fod gennym mewn profiad trwy ffydd."

*Archoffeiriad mawr*: Brawddeg a ddefnyddir yn aml gan Philo. Danghoswyd mawredd ei berson yn pen. 1-3.

*Yr hwn a aeth i'r nefoedd*: **yr hwn a aeth trwy y nefoedd**: Fel yr aethai'r offeiriad Iddewig trwy y cysegr i'r cysegr santeiddiolaf, fe aeth Iesu trwy bob nefoedd a thuhwnt iddynt ($7^{26}$) i'r cysegr santeiddiolaf. Sonia Paul am dair nef (2 Cor. $12^2$), ac arferai'r Iuddewon yn gyffredin son am saith nef; aeth Crist trwyddynt oll, megis trwy lenni'r byd materol i fewn i'r byd sylweddol ac ysprydol.

*Iesu Mab Duw*: Cyfunir yr enw roddwyd iddo fel dyn, a'r enw fynegai ei fawredd dwyfol, oblegyd y mae eisiau'r ddau mewn offeiriad.

*Glynnwn*: **daliwn afael**:

*Ein proffess* neu ein **cyffes**: Gwel ar $3^1$

15 Canys nid oes i ni Arch-offeiriad heb fedru cyd-ddioddef â'n

---

**15.** *Nid oes*: Atebiad i'r wrthddadl fod Crist yn rhy fawr ac yn rhy bell i fod o un cymorth i ddynion.

*Cyd-ddioddef gyda'n gwendid ni*: **cydymdeimlo â'n gwendidau ni**: C S. *Touched with the feeling of our infirmities.* Gair arall a gyfieithir "cyd-ddioddef" yn Rhuf. 8[17], 1 Cor. 12[26]. Crist yn y nef sydd yma, nid yn dioddef ein gwendidau ni mwyach, ond yn dioddef o'u herwydd gyda ni; gŵyr pa fath rai ydynt, oblegyd dwg yn ei brofiad olion ymdrech â gwendidau cyffelyb. Golyga **gwendidau** bob peth mewn dyn sydd yn rhoddi cyfle i demtasiwn i'w hudo i bechod, anghenion a theimladau naturiol, terfynau gallu a gwybodaeth, tueddiadau etifeddol a gwasgfeuon amgylchiadau (5[2]).

*Ond wedi ei demtio*: Gall gydymdeimlo oblegyd ei fod wedi byw mewn gwendidau cyffelyb i'r eiddom ninnau, ac wedi teimlo cymhellion i bechu oddiwrth y tueddiadau naturiol oddifewn a gwasgfa amgylchiadau o'r tu allan. Teimlodd Iesu Grist gymhellion yr holl deimladau ac anghenion sydd i bobl eraill yn achlysuron pechod, ond gwrthododd gydsynio â hwynt pan gymhellent ef yn groes i ewyllys ei Dad. Nid at y demtasiwn yn yr anialwch yn unig nac yn bennaf y cyfeirir, oddieithr i ni ddeall honno fel dull yr efengylwyr o symio i fyny mewn modd ffigyrol un agwedd ar fywyd Iesu Grist. Golygir yma bob math o gymhellion i bechod oedd yn gwasgu arno ar hyd ei oes. Gwyddai'r awdwr am demtasiwn fawr Gethsemane (5[7]) lle y daethai awydd naturiol dyn ieuanc i fyw i wrthdarawiad â'i ufudd-dod i'w Dad. (Gwel ar 2[18]). *Ym mhob peth*, gan ei fod wedi ei wneud ym mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr (2[17]).

*Yr un ffunud a ninnau*: llyth. **yn ol cyffelybrwydd**: naill ai yn ol cyffelybrwydd ei demtasiynau ef i'r eiddom ni, neu yn ol cyffelybrwydd ei berson ef i ni: cynhwysa'r olaf y blaenaf. Yn holl hanfodion cyffredinol natur ac amgylchiadau dyn, gwnaed yr Iesu yr un fath a'i frodyr, ac felly temtiwyd ef yn yr un modd, nid ym manylion amgylchiadau'r demtasiwn, ond yn yr egwyddorion a'u gwnai yn demtasiwn.

gwendid ni; ond wedi ei demtio ym mhob peth yr un ffunud a ninnau, *etto* heb bechod.

---

*Etto heb bechod*, neu **ar wahan i bechod**: Gall olygu (1) er ei demtio, na phechodd, neu (2) fod pob elfen yn ei demtasiwn ef sydd yn ein temtasiwn ninnau *ond pechod;* ynnom ni rhydd pechod blaenorol rym yn y demtasiwn bresennol: "wedi yfed, syched sydd;" ond nid oedd grym pechod blaenorol yn ei demtasiwn ef. Er fod ynnom ni un gwendid nad oedd ynddo ef, teimlodd yntau rym y gwendidau oedd ynddo yn fwy nâ ni, oblegyd iddo eu gwrthwynebu hyd nes eu gorchfygu. Nid y sawl sydd yn rhoddi ffordd yn hawdd ac yn fynych i demtasiynau all gydymdeilo â'r neb sydd yn ymdrech yn erbyn pechod, ond yr hwn a'u gwrthwyneba'n hir a llwyddiannus. Cydymdeimlo â ni yn ein hymdrech yn erbyn pechod, ac nid pan yn rhoddi ffordd i bechod y mae Iesu Grist.

Cytuna He â mwyafrif ysgrifenwyr y TN i ddweyd fod Crist yn ddi-bechod. (7[26]; 2 Cor. 5[21]; 1 Ioan 3[5]; 1 Pet. 2[22]). Dywed Philo am yr Archoffeiriad: "Mai nid dyn ydyw ond y Gair dwyfol, a'i fod yn rhydd oddiwrth bob drygioni bwriadol ac anfwriadol." Credai'r Iddewon hefyd y byddai'r Messiah yn ddi-bechod. Dywed yr esbonwyr Ellmynig fod ysgrifenwyr y TN am hynny yn cymeryd yn ganiataol fod Iesu Grist yn ddi-bechod, gan eu bod yn ei gydnabod yn ddi-bechod; ond dylid ychwanegu na buasent felly wedi ei dderbyn fel Messiah, pe na buasai'n ddibechod. Gwir y credai'r Iddewon hefyd nas gallai'r Messiah ddioddef, ac i'r disgyblion dderbyn Iesu Grist fel Messiah er iddo ddioddef, ond y mae ol yr anhawster hwnnw ar bob llyfr yn y TN. Teimlai'r disgyblion fod angen egluro ac amddiffyn y syniad o Fessiah oedd wedi dioddef, a llawer mwy y teimlasent yr angen i amddiffyn ac egluro Messiah pechadurus, pe buasai hynny yn wir, a'r prawf goreu nad oedd ynddo bechod yw, nad oes olion yn unlle yn y TN fod y disgyblion wedi gorfod amddiffyn y fath syniad. Yr oedd ei her yn Ioan 8[46] heb ei hateb.

16 Am hynny, awn yn hyderus at orsedd-faingc y gras, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom râs yn gymmorth cyfamserol.

---

A oedd hi'n bosibl i Grist bechu? Anawdd deall pa rym na gwirionedd fyddai mewn temtasiwn lle nad oedd yn bosibl rhoddi ffordd iddi, na pha fodd y gallai dynoliaeth Crist fod yn wirioneddol heb fod iddo ryddid ewyllys hyd yn oed i anufuddhau fel dynion eraill. Nid oes awgrym i'r gwrthwyneb yn He, ond pwysleisir y ffaith fod Crist ymhob peth ond pechod fel ei frodyr. Tri pheth sydd yn gwneud temtasiwn, angen neu awydd, cyfle neu bosibilrwydd, a gwaharddiad; a thry'r demtasiwn yn bechod pan roddir croesaw i'r awydd wedi gwybod am y gwaharddiad. Yn Gethsemane, yr oedd ar Iesu Grist awydd byw, yr oedd yn bosibl iddo fyw trwy ymostwng i'r offeiriaid a gwadu ei fod yn Fessiah, ond ni fynnai wneud hynny yn groes i waharddiad ewyllys ei Dad, oblegyd byddai hynny yn bechod.

**16.** *Awn yn hyderus*: Ceir yr un gair am nesu at Dduw yn 7[25], 10[1,22], 11[16], a 12[22]. Ar *hyder*, gwel 3[6]. Diau fod ym meddwl yr awdwr ddarlun yr offeiriad yn nesau at y drugareddfa, ac y mae arliw'r syniad offeiriadol ar ei ddull o gyfleu perthynas dyn â Duw. Eistedda Duw fry ar ei orsedd; a'r orsedd a enwir ac nid Duw, ond trwy offeiriadaeth Crist gall dyn nesu ati, a chael Duw yn Dduw'r grâs. Nid gweddi fel un weithred a olygir, ond symud yn gyfangwbl i fyw yn nes at Dduw, ac am hynny mewn cymundeb ag ef.

*Trugaredd* mewn maddeuant am bechodau'r gorffennol. *Grâs*, sef ffafr neu ewyllys da Duw yn gymorth dyfodol. Cynhwysa'r naill y llall. Y mae trugaredd yn râs, a grâs yn drugaredd. Edrycha un at anheilyngdod dyn, a'r llall at gariad Duw, ac yma edrycha un yn ol, a'r llall ymlaen.

*Cyfamserol*: **amserol,** sef, pryd bynnag y byddo ei angen.

V. 1 CANYS pob arch-offeiriad wedi ei gymeryd o blith dynion a osodir dros ddynion yn y pethau *sydd* tu ag at Dduw, fel yr offrymmo roddion ac aberthau dros bechodau:

---

## ii. Fod cymhwysterau hanfodol offeiriad yng Nghrist, $5^{1\text{-}10}$.

Wedi gosod i lawr offeiriadaeth Crist fel ffaith, a dangos ei lle yn nrhefn iachawdwriaeth mewn termau cyffredinol, ä yr awdwr rhagddo i ddwyn allan gynnwys y syniad o offeiriad fel yr oedd yn wybyddus i'r "Hebreaid," sef (1) ei fod o ddynion a thros dynion, (2) y gallai gyd-ymdeimlo â dynion, ac (3) ei fod wedi ei alw i'w swydd gan Dduw.

1. *Wedi ei gymeryd, &c.*, h.y., **gan ei fod wedi ei gymeryd o blith dynion:** Nid nodwedd mewn un dosbarth o offeiriaid ond ymhob offeiriad: nid gosod Crist fel Mab Duw gyferbyn a'r offeiriaid Iddewig oedd o blith dynion, ond ei osod ef a hwythau gyda'u gilydd am eu bod o'r un ($2^{11}$).

*A osodir dros ddynion*: **ar ran dynion**: I'w cynrychioli yn eu holl berthynas â Duw, i aberthu ac eiriol, a gwneud cymod drostynt.

*Y pethau sydd tu ag at Dduw.* Gwel $2^{17}$.

*Roddion ac aberthau*: yn ol ystyr briodol y geiriau, golyga *rhoddion* bob math o roddion, ond yn arbennig, rhoddion o ffrwythau'r ddaear (Lef. $6^{20}$, $23^{9}$), ac *aberthau*, aberthau gwaedlyd (Lef. $7^{1}$), ond ni chedwir at y gwahaniaeth, a defnyddir y ddau air yn gyfystyr yn yr HD (Lef. 1.) a'r TN, ac ymddengys y gwneir hynny hefyd yn He ($8^{3\text{-}4}$, $9^{9}$, $11^{4}$).

*Dros bechodau*: Y rhoddion a'r aberthau yn iawn dros bechod (Gwel ar $2^{17}$). Am bechodau o anwybodaeth ac amryfusedd, a phechodau yn codi o wendid naturiol dyn, caniatâi deddf Moses roddi aberth, fel moddion i gyfryngu maddeuant Duw (Ex. $21^{13\text{-}14}$; Lef. $19^{20\text{-}22}$; Num. $35^{23\text{-}24}$); ond nid oedd aberth dros bechodau rhyfygus, pechodau a gyflawnid yn fwriadol yn erbyn deddf Duw,

2 Yr hwn a ddichon dosturio wrth y rhai sydd mewn anwybodaeth ac amryfusedd ; am ei fod yntau hefyd wedi ei amgylchu â gwendid.

---

ac ni wyddai'r ddeddf am un ffordd i gael maddeuant o honynt, oblegyd safai'r neb a'u cyflawnai y tu allan i'r cyfamod sydd yn rhoddi grym i aberthau'r ddeddf. (Ex. $21^{12-17}$; Lef. $7^{20,27}$, $10^{2}$, $20^{10}$, $24^{17}$).

2. *Yr hwn a ddichon dosturio wrth*: **gan fod yn abl i gyd-ddwyn â**: Dywed *tosturio* fwy na olygai'r awdwr yn y fan hon. Ystyr y gair yw "teimlo'n gymhedrol," sef, ar y naill law, peidio bod yn galed a di-deimlad, yn Stoicaidd, ac ar y llaw arall peidio colli llywodraeth rheswm o dan ddylanwad teimlad o dosturi, neu o ddigllonder, at bechadur. Dylai offeiriad deimlo digon o herwydd pechod i'w gymell o galon i wneud cymod drosto.

*Anwybodaeth ac amryfusedd*: Pechodau seremoniol gan mwyaf oedd pechodau mewn anwybodaeth dan y ddeddf (Lef. 4). Mewn ystyr foesol gywir nid oes bechod lle na byddo gwybodaeth (Rhuf. $3^{20}$, $4^{15}$, $7^{7}$); ond yn yr HD cyfrifid yn euog o bechod y neb a droseddai ddeddf Duw, pa un ai o fwriad neu mewn anwybodaeth (1 Sam. $14^{24}$, $38^{43-44}$). Wrth *amryfusedd* golygir "crwydro neu gyfeiliorni ar y ffordd." Ymddengys fod yr awdwr yn cyfyngu effeithiolrwydd aberth Crist, fel eiddo'r HD i bechodau o anwybodaeth ac amryfusedd, gan gau allan bechodau rhyfygus, lle y mae dyn o'i fodd ac o fwriad yn gosod ei hunan yn erbyn Duw ($6^{4-6}$, $10^{26}$): Cymharer y y pechod yn erbyn yr Yspryd Glân (Marc $3^{28-29}$).

*Wedi ei amgylchu â gwendid*: h.y., fod ei holl fywyd yn dwyn nodau gwendid ($7^{28}$); ac ymddengys oddiwrth yr adn. nesaf fod gwendid yn y fan hon yn cynnwys pechod. Yn hyn felly gwahaniaetha Iesu Grist oddiwrth yr offeiriad arferol, ond odditan y gwahaniaeth y mae tebygrwydd yn yr hyn sydd hanfodol, sef gallu i gydymdeimlo â dynion.

3. *Dylai*, **rhaid iddo**, yn gyntaf, yn ol deddf Moses (Lef. $4^{3}$, $9^{7}$, $16^{6,11}$, He $7^{27}$), ac yn ail, ar gyfrif natur ei

3 Ac o achos hyn y dylai, megis dros y bobl, felly hefyd drosto ei hun, offrymmu dros bechodau.

---

swydd. Nis gallai argyhoeddi dynion o effeithiolrwydd ei waith yn aberthu a chymodi, os nad arferai yr un moddion at ei afiechyd ysprydol ei hunan.

**4-10.** Apwyntiad Duw yw ail gymhwyster offeiriad. Os yw i gydymdeimlo â dynion, rhaid iddo hefyd roddi boddlonrwydd i Dduw. Deil rhai esbonwyr mai i sicrhau cydymdeimlad â dynion yn unig y dygir i fewn apwyntiad Duw, oblegyd nas gellid disgwyl y mwyneidddra a'r gostyngeiddrwydd gofynnol mewn dyn ryfygai i gymeryd y fath swydd o'i ben ei hunan, ond gofala Duw alw y sawl fedd farn a theimlad cymwys i'r swydd. Dadleuir felly mai pwysleisio cydymdeimlad Crist â dyn yw prif bwynt adn. 5-10, ac nad yw galwad Duw yn rhediad yr ymresymiad o gwbl.

Myn eraill mai galwad Duw yw'r prif syniad, ac mai amcan hyd yn oed adn. 7 a 8 yw dangos ufudd-dod Crist i alwad Duw, yn fwy na'i berthynas a'i gydymdeimlad â dynion. Rhaid teimlo fod pwys mawr yn cael ei roddi ar alwad Duw yn adn. 5-10, ac mai ufudd-dod yn hytrach na chydymdeimlad yw pwynt pennaf adn. 7 a 8. Ond pa eisiau gwahanu'r ddau syniad sydd, na gosod y naill yn is-raddol i'r llall? Y maent yn anwahanadwy a chyfochrog. Rhaid i offeiriad ddeall achos dyn er gallu ei ddadleu ger bron Duw, a bod wedi ei wisgo â holl awdurdod Duw i sicrhau i ddyn heddwch cymod Duw yn ei galon. Ni flina'r awdwr byth ddangos fod Crist yn perthyn i'r ddwy ochr. "Iesu, Mab Duw" (4[14]). Sylwa Westcott yn darawiadol ar y cyd-rediad gwrthgyferbyniol rhwng rhan gyntaf ac ail ran yr adran hon, fel hyn: I (*a*) swydd offeiriad (adn. 1): (*b*) ei gydymdeimlad (adn. 2,3): (*c*) ei apwyntiad (adn. 4): II. (*c*) apwyntiad Crist (adn. 5,6): (*b*) ei gydymdeimlad (adn. 7, 8): (*a*) ei swydd (adn. 9,10).

*Anrhydedd*: Defnyddir y gair am swydd yr Archoffeiriad yn aml gan Josephus.

4 Ac nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw, megis Aaron.

5 Felly Crist hefyd nis gogoneddodd ei hun i fod yn Arch-offeiriad; ond yr hwn a ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab; myfi heddyw a'th genhedlais di.

---

*Ond yr hwn a alwyd*: nid yw "yr hwn" yn y llaw-ysgrifau goreu: cyfieither **ond yn cael ei alw**, h.y., pan ei gelwir, neu, am ei fod wedi ei alw. C.S.D. *When he is called.*

*Megis Aaron*: gwel Ex. 28, &c.: Golygir fod yr offeiriadaeth Iddewig oll wedi ei galw yn Aaron. Trefn-iadau yr HD sydd ym meddwl yr awdwr. Ped ysgrif-enasai i Jerusalem, prin y gallasai osgoi cyfeiriad at y ffaith nad disgynyddion Aaron oedd mwyach yn llanw'r swydd offeiriadol, ond gwŷr uchelgeisiol a feddent ddigon o ddylanwad i sicrhau eu hapwyntiad nid gan Dduw, ond gan lywodraeth Rhufain. Dyfynna'r esbonwyr ar yr adn. hon eiriau tarawiadol un o'r Rabbiniaid: "Dy-wedodd Moses wrth Corah a'i gyfeillion:—Os cymerodd fy mrawd Aaron yr offeiriadaeth iddo ei hun, da y gwnaethoch yn gwrthryfela yn ei erbyn; nid mewn gwir-ionedd rhoddwyd hi iddo gan Duw, eiddo yr hwn yw y mawredd a'r gallu a'r gogoniant. Pwy bynnag gan hynny a gyfyd yn erbyn Aaron, ai nid yw yn codi yn erbyn Duw?" (cf. Num. 16).

5. *Crist*: **Y Crist**: Y Messiah fel y cyfryw. Er cyfuwch ei urddas, nid gosod ei hunan yn offeiriad a wnaeth. Daw urddas uwch i'r golwg gyda'r offeiriad-aeth.

*Nis gogoneddodd*: Yn sylweddol yr un fath â "nid yw neb yn cymeryd yr anrhydedd" (adn. 4), ond fod *gogon-eddu* yn gryfach a llawnach gair. Gwel ar 2$^{7}$. Gesyd y swydd offeiriadol *anrhydedd* ar bawb a'i dygant, ond ymherson Crist daw ei harddwch yn fwy disglaer. Ceir dywediad cyffelyb droion ar wefusau Crist. (Ioan 8$^{54}$, 12$^{28}$, 13$^{31}$, 17$^{5}$).

*Ond yr hwn, &c.*: Y mae cymal ychwanegol i'w ddeall, ond heb ei osod i lawr yn y frawddeg hon: *Ond*

6 Megis y mae yn dywedyd mewn *lle* arall, Offeiriad *wyt* ti yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec.

---

*yr hwn a ddywedodd, &c.,* . . . . . . . . . **a'i gogoneddodd i fod yn arch-offeiriad.**

Duw a'i gogoneddodd ef. Ond paham na ddywedid hynny gan roddi'r gair **Duw** yn lle dwyn i fewn eto'r geiriau o Salm 2[7], a ddyfynwyd eisoes yn 1[5]? Yn sicr, nid i gael ffordd amgylchog i ddweyd "Duw," ond am un o ddau reswm arall: (1) Fod Duw yn y geiriau hyn yn apwyntio Crist nid yn unig yn Fab, ond hefyd yn offeiriad; ond nid oes awgrym o hynny yn y geiriau, ac fe roddir geiriau'r apwyntiad i'r offeiriadaeth yn yr adn. nesaf: (2) Er dwyn allan gysylltiad mabolaeth ac offeiriadaeth Crist a'u gilydd. Gall olygu i'r ddau apwyntiad gael eu gwneud yr un pryd, oblegyd barnai yr awdwr hynny, ond y peth pwysig yw mai yr hwn wnaeth Grist yn Fab a'i gwnaeth ef hefyd yn offeiriad.

*Tydi yw fy Mab*: gwell cyfieithu fel yn 1[5], **Fy Mab ydwyt ti:** Yn y gwreiddiol y mae'r geiriau yn hollol yn yr un drefn yn y ddau le.

**6.** *Megis y mae yn dywedyd*: **fel y dywed hefyd.** Cysyllta'r gair **hefyd** a'r frawddeg sydd i'w deall ar ddiwedd adn. 5: "Yr hwn a ddywedodd, &c. . . . . a'i gogoneddodd . . . . . fel y dywed hefyd."

*Offeiriad wyt ti*: Dyna'r oll oedd eisiau ddyfynnu i amcan yr ymresymiad yn y fan hon, ond yma ac yn adn. 10, dyfynna'r awdwr y frawddeg yn gyfan i baratoi'r ffordd at pen. 7. Dyfynnir o Salm 110[4]: gwel nodiad ar 1[13]. Ac am Melchisedec, gwel pen. 7.

7. Daw i'r golwg yn yr adn. hon a'r un ddilynol wendid dynol Iesu Grist, yn yr hyn y mae yr un â'i frodyr, ond eu prif amcan yw dangos llwyredd ei ufudddod i alwad Duw. Mor bell o honni bod yn offeiriad yr oedd, fel mai trwy'r dioddefaint mwyaf y gallodd ufuddhau i'r alwad a dod yn gymwys i'r swydd.

7 Yr hwn yn nyddiau ei gnawd, gwedi iddo, trwy lefain cryf a

---

*Yn nyddiau ei gnawd*: Pan yn ddyn, ac yn gyfrannog o wendidau a therfynau dynoliaeth. At ing Gethsemane y cyfeiria'r brawddegau dilynol yn arbennig.

*Trwy lefain cryf a dagrau*: Yn hanes yr ing yn yr efengylau, ni sonir am ddagrau. Feallai fod gan yr awdwr draddodiad manylach, neu mai tynnu'r casgliad a wnaeth oddiwrth Marc 14[33-34]. Tybia rhai fod y llefain yn golygu'r llef ar y groes (Marc 15[34]), ond tebycach yw mai at y gweddiau yn yr ardd y cyfeiria.

Dyfynna Westcott ddywediad Iddewig nodedig: "Y mae tri math o weddiau, bob un yn uwch nâ'r un o'i flaen: Gweddi, llefain, a dagrau. Gweddïir mewn distawrwydd; llefir â llais dyrchafedig, ond gorchfyga dagrau bob peth." Yn y Groeg yn y fan hon, dilyna'r geiriau yr un drefn; gweddiau ac erfyniau: llefain: dagrau.

*Offrwm*: Dyma'r gair arferol am aberthu, a thybia rhai ei fod yn cyfateb yn y fan hon i'r un gair yn adn. 3, ac fod yr Iesu wedi offrymu ing yr ardd drosto'i hunan, fel yr offrymai'r offeiriad Iddewig aberth dros ei bechodau ei hunan. Ond nid oedd angen ar Grist roddi aberth dros ei bechodau ei hunan (7[26-27]), ac anawdd deall ym mha ystyr arall, yn gyson â syniadau yr awdwr, y gallasai aberthu drosto'i hun. Ni cheir awgrym o'r syniad yn unlle arall yn yr epistol. Y pwynt yma yw llwyredd a chaledi ei ufudd-dod. Gwrthdystiad ei natur ddynol yn erbyn y dioddefaint oedd o'i flaen oedd y gweddiau.

*At yr hwn oedd abl*, sef Duw (Mt. 10[20], 26[53]; Iago 4[12]).

*I'w achub ef oddiwrth farwolaeth*: llyth. **allan o farwolaeth.**

Ni ddywed yr awdwr yn eglur beth oedd cynnwys gweddi'r Iesu. Yn ol yr efengylau, gweddiodd, "Fy nhad, os yw bosibl, aed y cwppan hwn heibio oddiwrthyf; etto nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti"

dagrau, offrwm gweddìau ac erfyniau at yr hwn oedd abl i'w achub ef oddi wrth farwolàeth, a chael ei wrandaw yn yr hyn a ofnodd :

---

(Mt. 27[39]). cf. "O Dad gwared fi allan o'r awr hon" (Ioan 12[27]). Gweddiodd am gael ei waredu rhag y dioddefaint oedd o'i flaen. Cymer llawer o esbonwyr y frawddeg uchod i olygu'r un peth. Ond dywed T. C. Edwards "Mai "o" ac nid "oddiwrth" ydyw yr unig gyfieithad cywir. . . . . Nis gall y gair gwreiddiol olygu fod Crist wedi gweddio ar gael ei gadw *rhag* marw." Er hynny, barna llawer o'r esbonwyr goreu yn wahanol. Ystyr gyffredin y gair, yn ddiau, yw **allan o**, megis "allan *o* dywyllwch" (1 Pedr 2[9]), "diangc *o'r* môr" (Act. 28[4]), "adgyfodi *oddiwrth* y meirw," sef allan o blith y meirw (Luc 20[33]). Ond y mae yn sicr hefyd y ceir y gair yn yr ystyr arall yn y TN, megis "disgyn *o*'r mynydd" (Mt. 17[9]), "*oddiwrth* Dduw y deilliais" (8[42]), eu cadw hwynt *rhag* y drwg" (Ioan 17[5]), "*oddiwrth* awr y brofedigaeth" (Dat. 3[10]), "*oddiwrth* yr hyn bethau, os ymgedwch" (Act. 15[29]), "cadw enaid *rhag* angau" (Iago 5[20]). Felly, caniata'r geiriau un o ddau brif ystyr : i. I'r Iesu weddio am gael ei gadw rhag marwolaeth, neu ii. Iddo weddio am gael ei achub allan o farwolaeth, wedi myned iddo. Os yr olaf fabwysiedir, gall eto olygu gweddio (1) am gael ei achub o dristwch a dychryn angeu, oedd yn barod wedi ei amgylchu : "Trist iawn yw fy enaid hyd angeu" (Mt. 26[38]) ; neu (2) am gael ei adgyfodi o feirw : dywed yr efengylau iddo weled cyn hyn fod marw ac adgyfodi o'i flaen (Mt. 16[20], 20[18.19]), neu (3) am gael ei waredu o allu marwolaeth pan yn marw, rhag ei golyn a'i fuddugoliaeth (1 Cor. 15[55]). Ond y mae dau reswm cryf dros ddewis yn hytrach na'r un o'r rhai hyn yr ystyr gyntaf (i) a nodwyd, sef (*a*) fod yr efengylau yn croniclo gweddi o'r fath o eiddo'r Iesu, ac (*b*) ei fod yn ateb oreu i rediad yr ymresymiad, oblegyd dangos y mae'r awdwr nad o'i ddewisiad ei hunan yr aeth Crist yn offeiriad, ac y bu farw i'r amcan hynny, ond mewn ufudd-dod i alwad Duw. Yr unig anhawster i dderbyn yr esboniad hwn yw'r frawddeg nesaf : A *chael ei wrandaw;* atebodd Duw ei weddi, ond ni waredwyd ef rhag marw. Cafodd ei

8 Er ei fod yn Fab, a ddysgodd ufudd-dod trwy y pethau a ddïoddefodd.

---

nerthu i wynebu marw (Luc 22[43]); gwaredwyd ef rhag ofn marwolaeth, a rhag ei allu, oblegyd concrodd farwolaeth ; gwaredwyd ef allan o farwolaeth trwy adgyfodiad. Ond bu farw, a hynny er gweddio am beidio, os cywir ein hesboniad uchod o'r hanes yn yr efengylau. Ond sylwer mai amodol oedd ei weddi am beidio marw. "Os yw bosibl," ac os nad yw, "fel yr ydwyt ti yn ewyllysio." Nid oedd yn bosibl gwneud ewyllys Duw heb iddo farw. Gwrandawyd ei weddi gyfan, a chafodd brofi hyd yr eithaf yr hyfrydwch o wneuthur ewyllys ei Dad (Ioan 4[34]). Nid yw ateb gweddi yn golygu caniatau pob cais ynddi, ac fe atebwyd yspryd gweddi Crist yn llawn: cafodd heddwch a hyder i wynebu angeu mewn ufudd-dod i'w Dad, gorchfygodd farwolaeth trwy farw ac adgyfodi drachefn.

*Yn yr hyn a ofnodd:* Pe gellid derbyn y cyfieithad hwn, symudai'r anhawster o'r frawddeg flaenorol: yr ystyr fyddai iddo gael ei wrandaw cyn belled a chael ei waredu rhag ofn marwolaeth. Ond prin y gall y gair olygu *ofn* yn yr ystyr gryf o ddychryn marwolaeth. Ystyrron y gair a gyfieithir *yr hyn a ofnodd* yw (1) gofal, (2) pryder, (3) parchus ofn, (4) parchus ofn Duw, (5) duwioldeb. Mwy naturiol yw cymeryd y gair yn y fan hon i olygu ymostyngiad parchus i Dduw: "Nid fel yr ydwyf fi yn ewyllysio, ond fel yr ydwyt ti." A chydwedda'r ystyr hwn â rhediad yr ymresymiad. cf. Ymyl y ddalen yn y Cyf. Cym. **o achos ei dduwioldeb.** C.S.D. *for his godly fear.*

8. *Er ei fod yn Fab.* Er sylweddoli llawn ystyr y geiriau, darllener eto 1[1-4] a'r sylwadau arnynt. Er ei uchder a'i awdurdod, fe ymostyngodd i ddysgu ufudd-dod trwy ddioddefaint. Syniad arall sydd yma yw y gellid disgwyl fod ufudd-dod yn naturiol ac hawdd i *Fab* heb ei ddysgu trwy dioddefaint; ond mewn gwirionedd, bydded mab mor addfwyn ac ufudd ag y mynno, fe gyfyd amgylchiadau a wnant ufudd-dod yn anawdd, gan

9 Ac wedi ei berffeithio, efe a wnaethpwyd yn Awdwr iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo ;

---

beri iddo ddysgu llawn ystyr ufudd-dod trwy wneud yr hyn sydd groes iawn i'w ddymuniad naturiol. Ar lwybr ufudd-dod Crist, cododd angeu'r groes a'i holl ddychryn dieithr, a'i atgasedd i deimlad dyn ieuanc oedd a'i fywyd o'i flaen, ac wrth ufuddhau ar eu gwaethaf, dysgodd hyd eithaf posibilrwydd profiad beth oedd ufudd-dod. Nid dysgu ufudd-hau : gwnaethai hynny ar hyd ei oes, ond dysgu llawn ystyr ufudd-dod yn ei ofynion pennaf. (Phil. 2[6-8]).

**9.** *Wedi ei berffeithio*, i fod yn offeiriad ; wedi gorffen holl gwrs y ddisgyblaeth a'i cymhwysai i gynrychioli dyn ger bron Duw (Ioan 19[20]). Gwel ar 2[10], ac Adnodiad E.

*A wnaethpwyd:* **a ddaeth i fod:** *became;* trwy gwrs o ddatblygiad a disgyblaeth.

*Awdwr*, llyth. **achos**: nid yr un gair a gyfieithir "Tywysog," a chan rai "Awdwr" yn 2[10]: arweinydd y credinwyr i iachawdwriaeth sydd yno, ond yr offeiriad sydd yma, yn cyflawni amodau iachawdwriaeth iddynt, ac yn ei gwneud yn bosibl iddynt hwy fyned at Dduw.

*Iachawdwriaeth dragwyddol:* Nid gwaredigaeth ddaearol fel eiddo Moses, na blynyddol fel eiddo Aaron, ond un heb ddiffyg na diwedd byth i fod arni.

*I'r rhai oll a ufuddhant iddo:* cynnwys ei offeiriadaeth awdurdod dros eneidiau dynion, ac ni lesha ond i'r rhai a ddysgant ufudd-dod fel yntau. Grym y gair *oll* yw, mai ufudd-dod yw'r unig amod. (3[18], 4[6-11]).

**10.** *Wedi ei gyfenwi*, neu **ei gyfarch:** dywedwyd yn adn. 6 fod ei apwyntiad o Dduw ar sail Salm 110[4], ac wedi profi'r gosodiad yn fanwl, diweddglo ar yr holl fater yw adgoffa geiriau'r apwyntiad, gyda'r gwahaniaeth mai *Arch*-offeiriad sydd yma. Pan aeth Crist i'r nef wedi gorffen y ddisgyblaeth a'r dioddefaint a'i cymhwysai i'w

10 Wedi ei gyfenwi gan Dduw yn Arch-offeiriad yn ol urdd Melchisedec.

---

swydd, cyfarchodd a chydnabyddodd Duw ef yn Arch-offeiriad (cf. Salm 24).

Yn adn. 10, daethai'r awdwr unwaith eto wyneb yn wyneb a'i brif bwnc, ond teimla nad yw ei ddarllenwyr yn barod i fyned ymlaen ato; ofna fod eu gwybodaeth grefyddol yn rhy elfennol, a'u profiad ysprydol yn rhy dylawd, ac fod perygl eu bod wedi syrthio yn rhy bell i'w hadfer, ond gobeithia bethau gwell am danynt, ar sail llawer o ddaioni yn eu bywyd gorffenol. Ceisier sylweddoli sefyllfa'r "Hebreaid." Yn eu troedigaeth profasent y nerthoedd grymus a'r brwdfrydedd tanllyd a nodweddai flynyddoedd cyntaf yr eglwys apostolaidd (Act. $2^{4,46}$ $4^{31}$ $8^{17}$ $10^{44}$ 1 Cor. 12 a 14). Ond nid oeddynt wedi cynhyddu yng ngwybodaeth y gwirionedd. Aethai'r brwdfrydedd heibio, a'r oll oedd yn aros ganddynt oedd yr ychydig wirioneddau elfennol a ddysgai'r apostolion ar eu teithiau cyntaf, a'r ychydig ffurfiau a arferid yng ngwasanaeth yr eglwys. Gallasent, er hynny, fod wedi dechreu bywyd o gynnydd graddol a sicr mewn gwybodaeth ehangach a phrofiad cyfoethoch. Ond aros yn yr un man mewn gwybodaeth a wnaethant, a syrthio'n ol mewn profiad, a'u perygl oedd syrthio mor bell, fel na byddai'n bosibl iddynt ymadnewyddu drachefn. Dylid cofio hefyd eu hanfanteision. Ychydig neu ddim llenyddiaeth Gristionogol oedd ganddynt, copi o rai o epistolau Paul o bosibl. Prin oedd athrawon o fath Paul a'r awdwr hwn. Yr oedd dylanwadau croes, Iddewig a phaganaidd, yn gryf iawn o'u hamgylch ar bob llaw. Am y rhesymau hyn a'u cyffelyb, aeth yr eglwysi'n gyffredin i sefyllfa farwaidd tua diwedd y ganrif gyntaf. Tylawd iawn o feddwl ac yspryd yw llenyddiaeth y cyfnod; ag eithrio efengyl Ioan, ni chyfyd y goreu cyfuwch ag epistol Iago; a braidd nad allasai Paul, He a Ioan fod heb fyw erioed o ran hynny o'u dylanwad a welir ar y genhedlaeth nesaf. Fe syrthiodd llawer i'r perygl yr oedd yr "Hebreaid" ynddo, heb allu ymadnewyddu drachefn.

11 Am yr hwn y mae i ni lawer i'w dywedyd, ac anhawdd eu traethu, o achos eich bod chwi yn hwyr-drwm eich clustiau.

12 Canys lle dylech fod yn athrawon o ran amser, y mae arnoch drachefn eisieu dysgu i chwi beth *ydyw* egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw; ac yr ydych yn rhaid *i chwi* wrth laeth, ac nid bwyd cryf.

---

Syrthiasai'r "Hebreaid" yn gynnar i'r sefyllfa farwaidd y ceir yr eglwysi yn gyffredinol ynddi yn niwedd y ganrif. Nid rhyfedd fod yr awdwr yn teimlo anhawster i agor iddynt holl ogoniant gwaith Crist yn nyfnder eithaf calon dyn, ac uchder pennaf gorsedd Duw.

11. *Am yr hwn*, neu **am yr hyn:** os yr olaf, golyga offeiriadaeth Crist: os y blaenaf gall olygu Crist neu Melchisedec, a'r ail yn fwyaf naturiol, ond efe fel arwyddlun o Grist.

*Anhawdd eu traethu*: llyth. **anawdd i'w ddeongli i'w ddweyd:** nid yn gymaint am fod y mater yn anawdd ei ddeall a bod y darllenwyr yn hwyrdrwm i'w ddirnad.

*O achos eich bod chwi*: **o achos eich bod wedi myned:** Buont yn well, ac wedi dirywio yr oeddynt.

*Hwyrdrwm*: di-ynni, diofal, musgrell ($6^{12}$): aethai eu gallu i glywed yn ddiymadferth; ffordd ffigyrol o ddweyd fod eu hamgyffredion wedi myned yn farwaidd a phwl. Nid diffyg gallu naturiol, ond esgeuluso eu galluoedd a wnaethant hyd nes iddynt bylu.

12. *O ran amser*, er pan dderbyniasent yr efengyl: yr oedd felly gryn gyfnod er eu troedigaeth ($2^{3}$ $10^{32}$ $13^{7}$ Rhag. V).

Yr oedd yr *athrawon* neu ddysgawdwyr yn ddosbarth cydnabyddedig o swyddogion yn yr eglwys ym mhell cyn hyn (Act. $13^{1}$ 1 Cor. $12^{28}$ &c. Eph. $4^{11}$).

*Eisiau dysgu i chwi beth ydyw egwyddorion*: gwell, **eisiau rhywrai i ddysgu i chwi egwyddorion:** C.S.D. *that some one teach you the rudiments.*

*Egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw:* pentyrra eiriau i ddangos mor bell yn ol yr aethant. Wrth *ymadroddion Duw* golygir gwirioneddau'r efengyl a ddatgudd-

13 Canys pob un a'r sydd yn ymarfer â llaeth, *sydd* anghynnefin â gair cyfiawnder : canys maban yw.

---

iwyd trwy Iesu Grist ($1^1$), ac a bregethwyd gan y cenhadon cyntaf i'r "Hebreaid." Defnyddir yr un gair am ddeddf Moses (Act. $7^{38}$ Rhuf. $3^2$), ac am ddysgeidiaeth yr athrawon yn yr eglwys (1 Pedr $4^{11}$). C.S. *Oracles*=oraclau, gair a lliw paganaidd arno, ac y mae *ymadroddion* yn llawer gwell. *Dechreuad*, sef y gwirioneddau cyntaf a sylfaenol yn nysgeidiaeth yr efengyl ($6^{1-2}$), ond y mae eisiau torri'r rhai hynny yn fanach eto i'r "Hebreaidd" a dysgu iddynt *egwyddorion*, sef A,B,C, y gwirioneddau cyntaf.

*Ac yr ydych yn rhaid i chwi wrth laeth* : **ac fe ddaethoch yn gyfryw y rhaid i chwi wrth laeth** : buont yn gryfach nâ hyn. Defnyddir y ffigyr gan Philo, y Rabbiniaid a Paul (1 Cor. $3^2$). Sylwa Bruce ar y gwahaniaeth rhwng y Corinthiaid a'r "Hebreaid"; plant ysprydol oedd y blaenaf, yn afreolus a chwerylgar, heb wybod beth ddylent fwyta, a llaeth oedd gymwys iddynt, ond yn ei hail-blentyndod yr oedd yr olaf, wedi myned yn rhy ddiymadferth i fwyta'r bwyd cryf oedd ar eu cyfer.

13. Cyfieither, **Pob un sydd yn byw ar laeth, dibrofiad yw yng ngair cyfiawnder** : h.y., heb wybodaeth o hono, na medr ynddo. Cymysga'r awdwr ei ffigyr a'i sylwedd. Anghynefin â bwyd cryf yw'r sawl sy'n byw ar laeth. Brawddeg dywyll yw *gair cyfiawnder*. Ei hystyr gyffredinol yw dysgeidiaeth yr efengyl, ond pa agwedd arbennig arni? Tybia rhai fod cyfeiriad at Melchisedec "brenin cyfiawnder," ond gedy'r awdwr y mater hwnnw yn llonydd yn yr adran hon. Rhydd eraill ryw ystyr gyffredinol megis "y bywyd Cristionogol," neu "Grist," neu'r "efengyl," neu "athrawiaeth yr efengyl." Feallai y ceir yr ateb wrth sylwi ar y gyfatebiaeth rhwng adn. 13 a 14. Dywed un beth na all y sawl sy'n byw ar laeth, a'r llall beth a all y sawl sy'n byw ar fwyd cryf, sef gwahaniaethu rhwng da a drwg. Dyna beth na all baban wneud: dyna beth yw bod yn ddibrofiad yng ngair cyfiawnder, bod heb allu i ganfod gwahaniaethau moesol; methu sylweddoli cyfiawnder mewn syniad na chymeriad.

14 Eithr bwyd cryf a berthyn i'r rhai perffaith, y rhai o herwydd cynnefindra y mae ganddynt synwyr wedi ymarfer i ddosparthu drwg a da.

VI. 1 AM HYNNY, gan roddi heibio yr ymadrodd sydd yn

---

**14.** *I'r rhai perffaith:* Cymysgir y ffigyr a'r sylwedd eto. Diffyg sylwi ar hyn barodd osod ar ymyl y ddalen yn y Cyf. Cym. y geiriau "mewn oedran." Y maent yn hollol gamarweiniol, a braidd yn amwys yw *full-grown men* y C.S.D. *Y rhai perffaith* yw rhai sydd wedi tyfu mewn gwybodaeth foesol hyd nes sylweddoli nôd bywyd dynoliaeth (gwel ar $2^{10}$).

*O herwydd cynnefindra, &c.:* Y mae'r perffaith trwy ymarfer yn gyson â bwyd cryf y gwirionedd yn arfer eu galluoedd ysprydol i ddosparthu, neu ganfod gwahaniaeth rhwng da a drwg, fel y daw synhwyrau y corff wrth eu harfer, yn fwy abl i ganfod pethau allanol. Golyga'r gair a gyfieithir *cynnefindra* "arferiad wedi ei ffurfio," *habit*, a'r gair a gyfieithir *ymarfer* "y weithred o ymarfer," fel y gwna'r ymladdwr cyn yr ornest: *athletic exercise* ($12^{11}$; 1 Tim. $4^{7}$; 2 Pedr $2^{14}$).

*Da:* llyth. **hardd** mewn ystyr foesol.

VI. 1. *Am hynny* gan y dylasech fod ymhlith y rhai perffaith ac yn abl i fwyta bwyd cryf.

*Gan roddi heibio yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai yng Nghrist:* llyth. **gan adael yn llonydd ymadrodd** (neu **athrawiaeth) dechreuad Crist;** nid ei wrthod na'i esgeuluso, ond myned ymlaen at y gwirionedd mewn ffurf gyfoethocach, fel yr â'r plentyn ymlaen o'r A.B.C. i ddarllen, gan gario'i wybodaeth o'r llythyrennau i ystyr uwch yn y geiriau.

**Ymadrodd dechreuad Crist** yw yr athrawiaethau elfennol y cyfeiriwyd atynt yn $5^{12}$, "llaeth" $5^{13-14}$, ac fe'u nodir yn hanner olaf yr adn. hon a'r adn. ddilynol. Awgrymodd cywreinrwydd esbonwyr amryw ystyrron eraill. Pe safai'r frawddeg ar ei phen ei hunan, gellid cyfieithu,

dechreu rhai yng Nghrist, awn rhagom at berffeithrwydd; heb

---

feallai, yn fwy naturiol "yr ymadrodd am ddechreuad Crist," naill ai o ran ei berson ei hunan, neu o ran profiad enaid o hono, ei ymgnawdoliad, neu ei ddyfodiad cyntaf i'r enaid, ond dengys y cysylltiadau yn eglur mai'r esboniad cyntaf sydd gywir. Nid y pynciau a driniwyd yn nechreu'r epistol olygir, oblegyd nid "llaeth" oedd rheiny.

*Awn rhagom:* Cyfieitha rhai, **goddefwn ein dwyn rhagom,** sef gan rym y gwirionedd, fel y tyf y corff gan nerth bwyd cryf. Nid gwaith dyn yn unig, ond cydweithrediad rhyngddo â gallu'r gwirionedd yw tyfiant ysprydol. Dadleua'r esbonwyr pa un a olyga'r awdwr yn y frawddeg hon (1) ai mynegi ei benderfyniad ei hunan i fyned ymlaen i ymdrin â chwestiynau mwy, neu (2) gymell ei ddarllenwyr i ymdrechu deall y gwirioneddau mwy. Awgryma "gosod i lawr sail" waith yr athraw, ond yn adn. 4 a'r rhai dilynol gosodir allan y perygl i'r "Hebreaid" o beidio myned rhagddynt. (3) Diau fod y ddau beth yma, sef bwriad yr awdwr i fyned ymlaen a'i bwnc, a chymhelliad i'r darllenwyr ddyfod gydag ef. Musgrellni'r darllenwyr oedd wedi ei atal a'i droi o'r neilltu (5[11]), a'u deffro o hono yw amcan yr adn. hon, oblegyd nid gwiw iddo fyned ymlaen os na ddeuant hwy gydag ef. Ond cred y deuant (adn. 3 a 9). Ac wrth reswm nid ânt hwy os nad ä yntau. Nid yw yn wrthwynebiad i'r esboniad hwn fod yn rhaid felly deall y brawddegau ' gan roddi heibio," ac "heb osod i lawr sail" mewn ystyr ddeublyg gyffelyb. Er y dadleua Davidson yn gryf drcs y farn gyntaf, gorffenna gan ddywedyd "*The words seem said by the Author of his own procedure alone, and contain no expressed exhortation,* **though an implied one,**" yr hyn sy'n dod gerllaw i'r trydydd esboniad wedi'r cwbl, ond credaf fod rhediad yr adran yn dangos mai ar y cymhelliad i'r Hebreaid gynhyddu y mae'r pwyslais mwyaf.

*At berffeithrwydd*: hyd at y ddynoliaeth ysprydol gyflawn y cyfeiriwyd ati yn 5[14].

osod i lawr drachefn sail i edifeirwch oddi wrth weithredoedd

---

*Heb osod i lawr drachefn sail:* Newidia'r awdwr ei ffigyr (cf. 1 Cor. $3^{9}$); darlunia'r gwirionedd fel tŷ: yr egwyddorion dechreuol a enwir yn awr yw'r sylfaen y dylai'r "Hebreaid" fyned ymlaen i adeiladu arni. Nodir chwech o honynt, neu dri phâr: (1) (*a*) edifeirwch a (*b*) ffydd: (2) (*c*) athrawiaeth bedyddiadau ac (*d*) arddodiad dwylaw: (3) (*e*) adgyfodiad y meirw (*f*) a'r farn dragwyddol. Cynhwysant (1) ffeithiau cyntaf y bywyd crefyddol: cynnwys pregethau cyntaf yr Iesu oedd "edifarhewch a chredwch yr efengyl" (Marc $1^{15}$ cf. Act. $2^{38}$ $3^{19}$ $5^{31}$ $11^{18}$ $16^{31}$ $17^{30}$ $26^{23}$). (2) Y defodau a arferid wrth dderbyn dynion i'r eglwys (Mt. $28^{19}$ Act. $2^{41}$ $6^{6}$ $8^{12-17}$ $9^{17}$ $19^{5-6}$). (3) Y pethau mwyaf cyffredinol am Dduw a byd arall a ddysgid ar ddechreu pregethu'r efengyl. Sylwer ar y lle amlwg sydd iddynt ym mhregethu boreuol Paul. (Act. $1^{22}$ $4^{2}$ $10^{42}$ $17^{31}$ $23^{6}$ $24^{25}$ $26^{23}$). Tybia rhai esbonwyr y dylid dosbarthu'r chwech pwynt yn wahanol, mai'r pedwar olaf yn unig sydd i'w cyfrif yn y sail, ac mai'r ddau flaenaf yw'r goruwch-adeilad. Daw'r gair *athrawiaeth* i fewn i wahanu'r pâr cyntaf oddiwrth yr ail a'r trydydd, ac mewn un llawysgrif ceir ef mewn ffurf sydd yn ei osod yn gyfochrog â *sail* ac nid ag *edifeirwch* a *ffydd*. Diau y teimlir hefyd fod edifeirwch a ffydd yn rhy bwysig i'w gosod ar yr un tir a bedyddiadau ac arddodiad dwylaw. Ond yn y mwyafrif o'r llawysgrifau, gorffwysa'r chwech yn gyfochrog ar y gair *sail*, ac y mae synwyr yr holl adran, a pherthynas y materion hyn â'u gilydd yn gryf yn erbyn y dosbarthiad hwn. Gellid dweyd fod y ddysgeidiaeth am adgyfodiad a barn yn dod o flaen edifeirwch a ffydd yn nhrefn rhesymeg y bywyd ysprydol, ond nid yw bedydd ac arddodiad dwylaw. "Os wyt ti yn credu . . . . fe a ellir [dy fedyddio], (Act. $8^{37}$). Ac ni theimlai'r eglwys foreuol y gwahaniaeth pwysigrwydd rhwng edifeirwch a ffydd, rhagor bedydd ac arddodiad dwylaw, i'r graddau y teimla llawer heddyw. Heblaw hyn oll, y mae yn eglur mai arch-offeiriadaeth Crist yw'r adeilad fynnai'r awdwr osod ar y sail hon. Am y chwech pwynt uchod, dywed rhai esbonwyr nad

meirwon, ac i ffydd tuag at Dduw,

---

oedd ynddynt ddim oedd nodweddiadol o Gristionogaeth, eu bod yn elfennau'r grefydd Iuddewig yn ogystal. A seiliant ar hyn eu dadl nad Iddewon oedd y darllenwyr, oblegyd felly ni buasai angen gosod y sail hon iddynt pan ddaethant yn Gristionogion. Ond digon yw ateb fod Iesu Grist a'i ddisgyblion yn pregethu a dysgu pob un o'r materion hyn i Iddewon. (Gwel y mannau y cyfeiriwyd atynt uchod). Er eu bod yn eu hanfodion yn perthyn i'r ddwy oruchwyliaeth, cawsant ystyr newydd a chyfoethocach pan ddaethant i berthynas â pherson Crist. Ar yr un pryd, teimla'r awdwr na wnaent Gristion perffaith heb adeiladu arnynt offeiriadaeth Crist.

*Edifeirwch a ffydd:* mewn trefn resymegol daw edifeirwch o flaen ffydd, ond fel ffeithiau mewn profiad nis gellir eu gwahanu; dwy ochr yr un ffaith ydynt, sef troi oddiwrth bechod gan ei gashau, a throi at Dduw gan ymddiried ynddo. Gweld Duw trwy ffydd a ddengys bechod yn ei liw priodol hyd nes dysgu dyn i'w gashau.

*Oddiwrth weithredoedd meirwon*: Ni cheir y frawddeg hon drachefn yn y TN ond yn 9[14], lle y dywedir fod gwaed Iesu Grist yn puro oddiwrth weithredoedd meirwon. Nid troseddau yn erbyn y ddeddf, na gweithredoedd ffurfiol ac allanol yn ol y ddeddf, nac ychwaith *gweithredoedd* mewn gwrthgyferbyniad i *ffydd*—syniad Paul yw hwnnw—ond yn fwy cyffredinol, pob gweithredoedd y dylid edifarhau am danynt, ac y mae angen aberth Crist i lanhau oddiwrthynt, pob anufudd-dod yn erbyn Duw, allanol a mewnol. Ond paham *meirwon?* Am eu bod yn achosi marwolaeth: "cyflog pechod yw marwolaeth;" neu am eu bod heb rym na ffrwyth bywyd, yn allanol a ffurfiol, heb nerth cymeriad nac ewyllys y tu ol iddynt; neu gwell esboniad na'r un o'r ddau, am eu bod yn weithredoedd yn erbyn y Duw byw (3[12]), ac felly tuallan y cylch y mae ef, unig ffynon bywyd, yn fywhau. Perthynant i gylch y diafol, yr hwn sydd a nerth marwolaeth ganddo (2[14]).

2 I athrawiaeth bedyddiadau, ac arddodiad dwylaw, ac adgyfodiad y meirw, a'r farn dragwyddol.

3 A hyn a wnawn, os canniatâ Duw.

---

**2.** *Athrawiaeth bedyddiadau:* arferid golchiadau seremoniol fel arwyddluniau crefyddol, nid yn unig mewn Iddewaeth, ond hefyd yn y crefyddau paganaidd. Nid oedd dynion eto wedi dysgu gwahaniaethu yn fanwl rhwng mater, bywyd, ac yspryd, a chredent fod rhyw rinwedd bywiol a moesol mewn dwfr rhedegog. Daeth yr arfer i'r eglwys foreuol fel un o ddefodau cyffredinol crefydd. Ychydig bwys osodai Paul arni, er yn ei chaniatau (1 Cor. $1^{14-16}$). Ar y dechreu bedyddiai'r apostolion yn enw'r Arglwydd Iesu (Act. $2^{38}$ $8^{16}$ $10^{48}$), ac yn ddiweddarach "yn enw'r Tad a'r Mab a'r Yspryd Glân" (Mt. $28^{19}$). Rhoddai hyn ystyr newydd i'r arferiad. Feallai mai y rheswm y defnyddir y gair lluosog *bedyddiadau* yma yw y golygai'r awdwr y ddysgeidiaeth am y gwahaniaeth rhwng y bedydd Cristionogol a bedyddiadau eraill. Ni cheir y gair *bedydd* yn y ffurf sydd yma am fedydd Cristionogol yn unlle arall yn y TN, ond ceir ef deirgwaith am y golchiadau Iddewig (Marc $7^{4,8}$ He $9^{10}$).

*Arddodiad dwylaw*: Yr oedd hon yn arferiad Iddewig a phaganaidd hefyd o bosibl (2 Bren. $5^{11}$ Num. $8^{10}$ $27^{18-23}$ Dt. $34^{9}$). Yn y TN arferid hi ynglyn â iachau'r cleifion (Marc $6^{5}$ $8^{23}$ Luc $4^{40}$ $13^{13}$ $16^{18}$ Mt. $9^{18}$ Act. $9^{12.17}$ $28^{8}$) apwyntiad swyddogion (Act. $6^{6}$ $13^{3}$ 1 Tim. $4^{1}5^{22}$ 2 Tim. $1^{6}$) a disgyniad yr Yspryd Glân (Act. $8^{17}$ $19^{6}$). Diau fod eisiau dysgu ystyr yr arferiad hon hefyd i Gristionogion ieuainc. Nid oes le i gredu y tybiai y Cristionogion boreuol fod un rhinwedd yn y weithred yn rhagor na'i bod yn arwydd, ac nid yw yn debyg ei bod yn ddefod reolaidd ar y dechreu, ond gellid tybio oddiwrth yr adn. hon a 1 a 2 Tim. iddi ddod felly yn ddiweddarach.

*Barn dragwyddol*, yn perthyn i'r byd sydd uwchlaw daear ac amser ($5^{9}$).

3. Er anhawster y pwnc a musgrellni'r "Hebreaid," gyda chymorth Duw iddo ef a hwythau, fe â'r awdwr ymlaen at ei athrawiaeth fwy perffaith, ond y mae "*os*" am rywrai, fel y dengys yr adnodau. dilynol.

4 Canys ammhosibl *yw* i'r rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant

---

**4-6**: Ar yr adnodau hyn trodd rhai o ddadleuon diwinyddol poethaf y gorffennol: (1) Rhwng Novatian a'r Donatiaid ar un llaw, a'r eglwys Gatholig ar y llaw arall; pa un a ddylid adfer i aelodaeth eglwysig neb a fuasai euog o bechod marwol, megis gwadu Crist o dan erlidigaeth. Ni ddadleuid yn gymaint y pryd hwnnw am bosibilrwydd achubiaeth y cyfryw. (2) Rhwng Calfiniaid ac Arminiaid ar gwestiwn achubiaeth ei hunan. Daliai'r blaenaf athrawiaeth parhad mewn grâs, sef nad allai neb o ddaethai unwaith yn wir grediniwr byth syrthio o'r ystâd honno, ond daliai'r olaf ar sail rhyddid ewyllys dyn y gallai syrthio o gyflwr o râs i anghrediniaeth. Ac yna cyfyd anhawster arall yn yr adnodau, sef yr ymddengys eu bod yn dysgu na all y sawl a syrthio felly ymadnewyddu drachefn i edifeirwch, ac felly, wedi'r cwbl, cyfyngir ar ryddid ewyllys y dyn syrthiedig. Gwaith esboniwr yw ceisio deall yn gyntaf eiriau'r awdwr a'u hystyr yn eu cysylltiadau hanesyddol, heb geisio ategu unrhyw athrawiaeth. Droion o'r blaen gosodasai'r awdwr y perygl o wrthgilio o flaen yr "Hebreaid," ac mewn geiriau dwysach bob tro (2[8] 3[6,12] 4[1-11]), ac yn yr adran hon dengys iddynt beth yw yr achos o'r perygl ynddynt hwy. Y maent yn ddigynnydd, yn aros gydag elfennau cyntaf crefydd, a mynn iddynt fyned rhagddynt, os nad ydynt yn wir wedi aros cyhyd gyda'r elfennau hyd nes colli grym y gwirionedd oedd ynddynt, a syrthio ymaith i anghrediniaeth, ac felly i gyflwr nad yw yn bosibl ail-ennyn ynddynt fywyd nâ thyfiant, oblegyd eu bod dan felldith Duw. Y mae cyfatebiaeth gyffredinol, ond nid manwl, rhwng adn. 4-6 a 1-2. Yr hyn a ddesgrifir yn awr fel ffeithiau profiad y credadyn ieuanc a ddesgrifiwyd eisoes fel athrawiaethau elfennol crefydd. Sylwer fel yr ail-adroddir dysgeidiaeth yr adnodau hyn eto yn 10[26-29].

**4.** *Canys:* ni chaniata Duw, ac nid yw o un diben myned ymlaen os yw'r "Hebreaid" wedi syrthio ymaith, oblegyd nis gellir ail-osod sail.

y rhodd nefol, ac a wnaethpwyd yn gyfrannogion o'r Ysbryd Glân,

---

*Anmhosibl*: Ceisia rhai bylu min y frawddeg trwy gyfieithu "anhebyg," neu esbonio "amhosibl i ddynion," ond y mae'r gair ar ddechreu'r adn. yn ddigon clir a phendant yn dweyd ei bod yn ddi-amodol amhosibl.

*Rhai a oleuwyd unwaith*: O'r ail ganrif ymlaen, arferid y gair hwn am "fedyddio," a deallai'r tadau Groeg a Lladin y frawddeg fel gwaharddiad i ail-fedyddio. Ond golyga yn hytrach dderbyn goleu yr efengyl i'r enaid, "derbyn gwybodaeth y gwirionedd" (10[26] cf. 10[32]). Cyfetyb i'r "argyhoeddiad" sydd yn codi o fod dyn yn cael golwg iawn arno'i hunan yn ei berthynas â Duw trwy Iesu Grist, ac amrywia disgleirdeb y goleuni, neu eglurder yr argyhoeddiad, mewn gwahanol brofiadau (Ioan 8[12] Act. 26[18-19] 2 Cor. 4[4-6] Eph. 1[19] 1 Pedr 2[9]). Wedi i ddyn gael ei oleuo, bedyddid ef, ond arwydd o lygriad graddol yr eglwys oedd iddi wneud goleuo yn gyfystyr â bedydd, a defnyddio enw'r profiad ysprydol am y weithred faterol.

Gellir cymeryd y tair brawddeg nesaf fel rhai yn ymhelaethu ar ystyr y goleuo.

*A brofasant*: llyth. **archwaethu** neu **gael blas** (2[9]); cael profiad gwir.

*Y rhodd nefol*: Brawddeg gyffredinol, ac awgrymir llawer ystyr iddi: megis mai gair arall yw am *oleuo*, neu Iesu Grist, neu'r Yspryd Glân (Act. 2[38] 8[20] 10[45] 11[17]) neu gyfiawnhad (Rhuf. 5[15,17]) neu yr hyn sydd gyfystyr â'r olaf, maddeuant pechodau: dyna'r cam nesaf ar ol argyhoeddiad, "profi blas maddeuant;" neu gall olygu'r oll o'r rhai hyn fel y maent yn rhan o brofiad cyntaf y credadyn o râs Duw (Eph. 4[7] "dawn").

*Nefol*, am ei bod yn perthyn i gylch y pethau nefol.

*Yn gydgyfranogion o'r Yspryd Glân*: Nid yn unig fod yr Yspryd yn dylanwadu arnynt megis o'r tu allan, ond eu bod hwy yn ei dderbyn yn rhan o'u bywyd oddifewn (cf. 2[14]).

5 Ac a brofasant ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw.
6 Ac a syrthiant ymaith, ymadnewyddu drachefn i edifeirwch;

---

5. *Ac a brofasant ddaionus air Duw*: *daionus*, da, hardd, hyfryd. Gellir cyfieithu, **ac a brofasant mor ardderchog yw gair Duw a nerthoedd y byd a ddaw.** Yr un gair sydd am *brofi* ag yn adn. 4, ond gwahaniaetha'r ffurf ramadegol, ac awgryma mai cyfranogi *o'r* rhodd nefol a wnaethent (*genitive*), a sylweddoli gwerth gair Duw (*accusative*). Wrth *air Duw* golygir yr efengyl fel y pregethid hi gan yr apostolion a'u cyd-weithwyr (Act. $5^{20}$ $10^{44}$ $11^{14}$ 1 Pedr $1^{23-25}$ Eph. $5^{26}$ $6^{17}$).

*Nerthoedd y byd a ddaw*: llyth. **yr oes a ddaw.** Nid y byd ar ol angeu fel y cyfryw, ond y byd delfrydol, gwir a pherffaith sydd yn dod i'w sylweddoli ym mywydau dynion. Y mae yn bod yn awr, a'i nerthoedd yn gweithio yng nghalonnau dynion. Gwel ar y "dyddiau diweddaf" ($1^{1}$), ac ar "y byd a ddaw" ($2^{5}$), ac Adnodiad E. Ar *nerthoedd*, gwel ar $2^{4}$.

**6.** *Ac a syrthiant ymaith*: **ac a syrthiasant ymaith:** dynodir gweithred bendant a gorffenedig. Nid son y mae am syrthio i bechod a throsedd gan nad pa mor ddrwg, ond am syrthio ymaith yn llwyr oddiwrth Grist. Dyma ddarlun yr awdwr yn awr yn gyflawn. Son y mae am ddynion wedi derbyn unwaith holl gyflawnder bendith yr efengyl, a'i chael yn brofiad personol hyfryd, ac wedi hynny wedi troi ymaith oddiwrth Grist, gan ei wrthod a'i wawdio ($10^{29}$).

Am neb o'r fath, dywed yr awdwr mai *amhosibl yw ymadnewyddu drachefn i edifeirwch*: yn hytrach **adnewyddu;** defnyddir y gair am droedigaeth gyntaf dyn at Grist hefyd (Tit. $3^{5}$). Yn y frawddeg hon y ceisia llawer o esbonwyr ddihangfa rhag dedfryd ofnadwy yr awdwr ar y gwrthgiliwr: (1) trwy gymeryd ystyr y Cyf. Cym. a dywedyd y golyga'r awdwr nas gall dyn *ymadnewyddu*, sef adnewyddu ei hunan, ond y gall Duw ei adnewyddu. Ond y mae'r cyfieithad a'r syniad yn anghywir. Desgrifio gwaith Duw ac nid gwaith dyn a wna adn. 4 a 5.

gan eu bod yn ail-groeshoelio iddynt eu hunain Fab Duw, ac yn *ei* osod yn watwor.

---

(2) Wedi cymeryd y cyfieithad cywir: **amhosibl yw adnewyddu drachefn y rhai, &c.** Esbonir fod yr awdwr yn siarad o'i safle ei hunan fel athraw a phregethwr; "amhosibl yw i mi nac i un dyn arall eu hadnewyddu, ond nid yw hynny yn cau allan y posibilrwydd i Dduw eu hadnewyddu. "Canys pob peth sydd bosibl gyda Duw" (Marc 10[27]). Ond nid yw'r meddwl hwn yn y geiriau, ac awgryma adn. 8 fod melldith Duw yn rhan o'r amhosibilrwydd. (3) Deallir amser presennol y gair *adnewyddu* fel yn golygu gweithred barhaol, ac mai'r hyn sydd amhosibl yw cadw ymlaen i adnewyddu drosodd a throsodd. Tybia Rendall fod prif feddyliau'r oesau wedi ymdrafferthu gyda'r anhawstra hwn yn unig am na sylwasent ar ramadeg y ferf, ond anghofiodd yntau fod amser y ferf *syrthiasant ymaith* yn mynegi gweithred orffenedig un waith am byth. (4) Ceisia Westcott ystyr newydd i'r gair edifeirwch: "Cyfnewidiad hollol y meddwl, yn dilyn amgyffrediad o natur foesol wirioneddol pethau: canlyna o angenrheidrwydd nas gall fod ail edifeirwch yn yr ystyr ëang hon." Ond nis gellir rhoddi un ystyr i edifeirwch nad yw yn cynnwys dechreu'r bywyd crefyddol, ac os na ellir cael ail edifeirwch, nis gellir cael ail-ddechreu ar y bywyd sydd yn ei ddilyn. Nid oes yn wir un ffordd i osgoi ystyr eglur y geiriau, sef fod yr awdwr yn dweyd yn bendant ei bod yn amhosibl i'r fath ddyn a ddesgrifiwyd i edifarhau a throi at Grist drachefn.

*Gan eu bod*: Rhydd y ddwy frawddeg nesaf y rheswm am yr amhosibilrwydd. Dynoda amser y ferf *syrthiasant ymaith* un weithred orffenedig, ond dynoda amser y ddwy ferf *yn ail-groeshoelio* ac *yn gosod yn watwar* weithredoedd parhaol; a cheisia rhai ddihangfa rhag y casgliad uchod yn y fan hon trwy gyfieithu: "tra y parhaont i ail-groeshoelio, a thra y parhaont i osod yn watwar," gan awgrymu felly y gallant roddi heibio a dychwelyd a chael eu hadnewyddu. Goddefa'r Groeg y cyfieithad hwn, ond byddai gwirionedd mor hyspys yn rhy gyffredin i'w osod

7 Canys y ddaear, yr hon sydd yn yfed y gwlaw sydd yn mynych ddyfod arni, ac yn dwyn llysiau cymmwys i'r rhai y lafurir hi ganddynt sydd yn derbyn bendith gan Dduw ;

---

ar ddiwedd rhybudd mor ddifrifol. Rhaid derbyn y Cyf. Cym., a golyga fod y rhai a syrthiasant ymaith unwaith yn parhau mwyach i ail-groeshoelia Crist a'i osod yn watwar, ac y mae hynny yn brawf amlwg nas gellir eu hadnewyddu.

Wrth *ail-groeshoelio* golygir eu bod yn cyflawni yr un pechod â'r rhai a laddasant y Gwaredwr, yn ei farnu a'i gondemnio a'i wrthod. *Iddynt eu hunain* : mor bell ag y perthyn iddynt hwy. Mewn ffaith, nis gellid ail-adrodd erchyllwaith yr Iddewon; ond mewn bwriad ac egwyddor ac effaith arnynt eu hunain y mae'r "rhai a oleuwyd unwaith, &c.", yn gwneud yr un peth.

*Mab Duw* : Dyna paham y mae'r weithred mor erchyll.

*Ac yn ei osod yn watwar* : llyth. fel ymyl y ddalen, **yn ei wneuthur yn siampl** : ond rhydd y Cyf. Cym. yr ystyr yn gywir : fel y gosododd yr Iddewon Grist ar y groes o flaen y cyhoedd i wneud ei farwolaeth mor warthus ag y gallent, felly y gwna'r gwrthgiliwr wrth ei wrthod ger bron y byd.

**7-8.** Dameg yw'r ddwy adn. hyn i egluro'r rhai blaenorol, ac fel arfer gyda dameg, y mae perygl ceisio gormod allan o'r ffigyr. Gall eglureb naturiol ddangos rhyw un pwynt mewn gwirionedd ysprydol, ond nis gall gyfateb i'w holl agweddau. Y pwynt yma yw, y caiff daear a dyn eu gwobrwyo gan Dduw yn ol fel yr atebont hwy i'w driniaethau ef. Y maes a dderbyn driniaeth Duw gan gynhyrchu llysiau defnyddiol i ddyn a fendithir, feallai mewn ffrwythlondeb cynhyddol, ond os bydd maes arall yn derbyn yr un driniaeth faethlon gan Dduw, ac yn dwyn drain a mieri, disgyna arno felldith Duw a dinystr tân. Ac felly'r dyn, yr hwn ar ol ei oleuo a wrthgilia, nid oes ond dinystr yn ei aros yntau. Daw ffydd-

8 Eithr yr hon sydd yn dwyn drain a mieri, *sydd* anghymmeradwy, ac agos i felldith ; diwedd yr hon *yw*, ei llosgi
9 Eithr yr ydym ni yn coelio am danoch chwi, anwylyd, bethau

---

londeb dan fendith Duw, a gwrthgiliad dan ei felldith, mor sicr a deddfau natur, ac eto nid am ei bod yn ddeddf natur, ond am fod Duw yn sicrhau hynny. Gall fod cyfeiriad at Gen. $1^{11-12}$ a $3^{17-18}$.

*Llafuriv hi ganddynt* : yn hytrach **iddynt,** er eu mwyn, sef dynion.

*Ei llosgi* : Nid llosgi bietin i wella'r tir, ond llosgiad dinystriol fel eiddo Sodom a Gomorrah.

Y casgliad oddiwrth yr holl adran yw, fod yr awdwr yn dysgu (1) y gallasai dynion, wedi derbyn grâs yr efengyl i'w calonnau, drachefn syrthio ymaith yn llwyr ac hollol i anghrediniaeth, gan wadu Crist a'i wrthod a'i watwar.

(2) Fod yn amhosibl i ddynion o'r fath gael eu hadfer i edifeirwch a bywyd newydd.

(3) Fod yr amhosibilrwydd nid yn unig yn gorwedd ynddynt eu hunain, ond hefyd yn disgyn arnynt fel melldith Duw.

**9-12.** Mor arswydus oedd darlun y gwrthgiliwr, fel nas gall yr awdwr oddef y dybiaeth ei fod yn desgrifio cyflwr yr "Hebreaid," ond ar sail eu gwasanaeth caredig i'r saint, daw i'r penderfyniad fod iachawdwriaeth ynglyn â'r fath wasanaeth yn ol cyfiawnder Duw; er hynny, nid ydynt allan o berygl, nac heb angen eu rhybuddio i gymeryd llawn afael yng ngobaith yr efengyl.

**9.** *Yr ydym ni yn coelio* : **yr ydym** (ar ol petrusder) **wedi ein hargyhoeddi.**

*Am danoch chwi*: mewn gwrthgyferbyniad i'r gwrthgiliwr.

*Anwylyd* : Ni ddefnyddir y gair hwn drachefn yn He. Yr oedd yr olwg ar berygl y gwrthgiliwr, a'r posibilrwydd

gwell, a *phethau* y'nglŷn wrth iachawdwriaeth, er ein bod yn dywedyd fel hyn.

10 Canys nid *yw* Duw yn anghyfiawn, fel yr anghofio eich gwaith, a'r llafurus gariad, yr hwn a ddangosasoch tuag at ei enw ef, y rhai a weiniasoch i'r saint, ac ydych yn gweini.

---

i'r "Hebreaid" fod yn gyfryw, wedi rhwygo calon yr awdwr gan dosturi, a thry hwnnw yn gariad tyner pryderus atynt, wrth gofio'u gwasanaeth.

*Bethau gwell*: **Y pethau gwell,** a ddesgrifiwyd yn barod, yn narlun y ddaear ffrwythlon a dderbyn fendith gan Dduw. Cyflwr gwell a thynged well nag eiddo'r gwrthgiliwr.

*A phethau ynglyn wrth iachawdwriaeth*: llyth. **a phethau agos i achawdwriaeth,** desgrifiad pellach o'r pethau gwell. Y maent hwy a iachawdwriaeth yn cyd-fyned â'u gilydd. Cyferbynner "agos i felldith" 5[8].

*Iachawdwriaeth*: gwel ar 1[14] a 5[9].

*Er ein bod yn dywedyd fel hyn*, sef 5[11]-6[8].

**10.** *Nid yw Duw yn anghyfiawn*: Yn nhrefn cyfiawnder Duw, y mae gwobrwyo'r da a chosbi'r drwg yn rheol ddigoll. Dyna sail ffydd ac hyder y credadyn am iachawdwriaeth (Mt. 10[41,42] Gal. 6[7] He 11[6,26].) Nid yw hyn yn golygu mai dyna ddylai fod cymhellion bywyd dyn:

"Nid am y gosb a ddêl
Nac am y wobr chwaith ;"

nac ychwaith fod iachawdwriaeth dyn o gwbl yn codi o unrhyw haeddiant ynddo fel y tybia'r Pabyddion (Luc 17[10]). Dengys yr awdwr yn ddigon eglur mai datguddiad ac addewid a chyfamod ac aberth graslawn Duw yng Nghrist yw unig sail iachawdwriaeth. O fewn cylch ei ras, ac ar ei sail, y gweithreda ei gyfiawnder.

*Llafurus gariad*: **eich cariad;** yn cheir "llafurus" yn y llawysgrifau hynaf: llithro i fewn a wnaeth, mae'n debyg, o 1 Thess. 1[3].

11 Ac yr ydym yn chwennych fod i bob un o honnoch ddangos yr un diwydrwydd, er mwyn llawn-sicrwydd gobaith hyd y diwedd:

---

*Tu ag at ei enw ef*: Yr oedd eu gwasanaeth i'r saint yn brawf o'u cariad at Dduw (cf. Mt. 25[40] 1 Ioan 4[20]). Ar *enw* gwel ar 1[4].

*Y rhai a weiniasoch i'r saint*: **pan weiniasoch**, yn eich gwaith yn gweini; ceir cyfeiriad manylach at eu gwasanaeth yn 10[32-34], ond ni ellir bod yn sicr fod y naill fan na'r llall yn ei ddesgrifio yn llawn. Nid oes digon o reswm dros gysylltu'r gweini hyn â'r casgliad wnaeth Paul i gynorthwyo'r saint yn Jerusalem (1 Cor. 16[1] 2 Cor. 8[4] 9[12]). Gelwir yr "Hebreaid" eu hunain yn "frodyr santaidd" 3[1]) a defnyddir y gair saint yn dra chyffredin am y credinwyr (1 Tim. 5[10]). Y mae dynion o'r fath ag y desgrifir yr "Hebreaid" hyn yn ddigon cyffredin yng nghynulleidfaoedd Cymru, dynion croesawgar i weinidogion yr efengyl, haelionus eu cyfraniadau at bob achos da, ond na wnant un cynnydd mewn gwybodaeth a phrofiad ysprydol. Y maent yn rhy dda i'w colli, ond eto mewn perygl mawr i syrthio ymaith i golledigaeth.

11. *Chwennych*: gair cryf, yn cyfleu **awyddu** neu **hiraethu am.**

*Bob un*: nid fel corff yn unig, ond fod i'r aelod mwyaf esgeulus fyw i fyny â safon gwasanaeth yr eglwys.

*Ddangos yr un diwydrwydd er mwyn llawn sicrwydd gobaith*: yn hytrach, **ddangos yr un diwydrwydd tuag at** [feddu] **cyflawnder y gobaith**: Nid eu hannog y mae i barhau yn ddiwyd i weini fel y delont trwy hynny i feddu cyflawnder gobaith, ond yn hytrach ar iddynt ddangos yr un diwydrwydd i gymeryd gafael yn y gobaith clir sydd yng Nghrist ag oeddynt wedi ddangos wrth weini i'r saint.

*Llawn sicrwydd*: **cyflawnder**: ond y mae sicrwydd gobaith mewn cyfartaledd i'w gyflawnder (cf. 1 Thess. 1[5] Col. 2[2] He 10[22]).

*Hyd y diwedd*: gwel ar 3[6].

12 Fel na byddoch fusgrell, eithr yn ddilynwyr i'r rhai trwy ffydd ac amynedd sydd yn etifeddu yr addewidion.

---

12. *Fel na byddoch*: **fel na ddeloch**: *Fusgrell*: yn $5^{11}$ "hwyrdrwm:" yr oeddynt yn barod yn fusgrell neu ddiynni eu meddyliau, ac y mae perygl i'r un afiechyd barlysu ei holl fywyd ysprydol. Cymhellir hwynt i ymdrechu sylweddoli holl obaith yr efengyl fel y delent yn

*Ddilynwyr*: **efelychwyr**: *imitators*;

*I'r rhai trwy ffydd ac amynedd sydd yn etifeddu yr addewidion*:

*Ffydd*: nid ymddiriedaeth yn Nuw yn ol syniad Paul, ond gafael ar sylweddau'r byd ysprydol mewn meddwl a phrofiad. Gwel pen. 11.

*Amynedd*: **hirymaros**: nid yr un gair a gyfieithir "amynedd" yn $10^{36}$: Golyga hwnnw y gwroldeb yspryd sydd yn gallu dal i fyny o dan erlidiau a phrofedigaethau: ond golyga'r gair sydd yn y fan hon, yr hirddisgwyl am yr addewidion sydd yn gynhwysedig mewn ffydd. (gwel adn. 15).

*Yn etifeddu*: Nid yw yn debyg fod cyfeiriad arbennig yma at y ffyddloniaid a enwir yn pen. 11, ond cynhwysir pawb fel dosbarth sydd trwy ffydd ddiflino yn yr addewidion, yn cael eu sylweddoli. Dyma eto syniad dwyochrog yr awdwr: y maent yn disgwyl am yr addewidion, yn credu ynddynt, ac yn cael meddiant o honynt yr un pryd. Yr un syniad sydd yn $4^{3}$. Gwel Adnodiad E.

*Yr addewidion*: sef addewidion Duw ymhob cyfnod ac o dan bob ffurf, hâd i Abraham, Canaan i Israel, gorffwysfa i bobl Dduw, ail-ddyfodiad Crist, ac iachawdwriaeth dragwyddol.

13 Canys Duw, wrth wneuthur addewid i Abraham, oblegyd na allai dyngu i neb *oedd* fwy, a dyngodd iddo ei hun,

---

## iv. Llw Duw yn sicrwydd gobaith y credinwyr. $6^{13-20}$.

Wedi cymell yr "Hebreaid" i ddiwydrwydd, fel y caffent trwy ffydd ac hir-ymaros etifeddu'r addewidion, seilia'r awdwr ei ddysgeidiaeth, yn ol ei arfer, ar engraifft o'r HD. I Abraham y rhoddwyd yr addewid fawr oedd yn ffynhonell yr holl addewidion; sicrhaodd Duw hi iddo trwy lw, ac wedi iddo yntau hir-ymaros, fe'i cyflawnwyd hi iddo. Ac fe erys yr addewid a'r llw mewn grym o hyd, yn sicrwydd y gobaith sydd yn cymeryd meddiant o'r etifeddiaeth dragwyddol y tu fewn i'r llen, lle mae'r Iesu'n Arch-offeiriad y cyfamod tragwyddol drosom ni.

**13.** *Canys*: ceir etifeddu'r addewidion **oblegyd** fod llw Duw tu ol iddynt.

*Wrth wneuthur addewid*: gellir cyfieithu'r Groeg, **wedi gwneuthur addewid:** Golygir felly fod Duw wedi rhoddi'r addewid yn gyntaf, megis yn Gen. $12^{3,7}$ $13^{14-15}$ $15^{5}$ $17^{5-6}$, ac yna wedi ei chadarnhau trwy lw yn Gen. $22^{16-17}$. Mwy syml a naturiol yw dilyn y Cyf. Cym., a deall wrth yr addewid a'r llw yr hyn a ddyfynnir yn adn. 14 o Gen. $22^{17}$; symia honno i fyny yr holl addewidion, a hi a gyflawnir yn ol adn. 15. Ei chynnwys oedd y cai Abraham ddod yn dad cenedl gref, ac felly yn fendith i holl genhedloedd y ddaear. Ni ddylid dwyn i fewn i'r fan hon esboniad Paul ar yr addewid yn Gal. $3^{16}$. Nid oes un awgrym yn unlle fod awdwr He yn ei deall felly. Nid cynnwys yr addewid yw'r pwynt, ond ei sicrwydd trwy lw. Llai byth y dylid dweyd "fod Abraham wedi deall fod yr addewid yn cyfeirio at Grist" (T. C. Edwards).

*Dyngu i neb . . . . iddo ei hun*, h.y., **yn enw neb . . . yn ei enw ei hun**: ar *dyngu* gwel ar $3^{11}$. Gwnaeth Duw ei addewid felly mor sicr a'i fodolaeth ei hunan. Cymerwyd y syniad a'r geiriau o Philo, yr hwn yn ei nodiadau ar Gen. $22^{16}$, a ddywed "Da hefyd y cadarnha

14 Gan ddywedyd, Yn ddïau gan fendithio y'th fendithiaf, a chan amlhâu y'th amlhâf.

15 Ac felly, wedi iddo hir-ymaros, efe a gafodd yr addewid.

---

yr addewid trwy lw, a llw teilwng o Dduw; canys ti a weli na thwng Duw yn enw neb arall, gan nad oes dim gwell nag ef ei hun, ond yn ei enw ei hunan, yr hwn yw y goreu o bawb."

**14.** Dyfynnir o Gen. 22[17], a newidir "Yr amlhâf dy hâd" i "*Y'th amlhâf*," am mai ag Abraham yn unig yr ymdrinia'r awdwr. Dyblir y ferf, *gan fendithio y'th fendithiaf* yn ol priod-ddull Hebraeg, i bwysleisio'r syniad.

*Yn ddiau* yw'r geiriau sydd yn gwneud yr addewid yn llw, er na roddir geiriau llw Duw yn ei enw'i hunan.

**15.** *Ac felly*, wedi cael addewid trwy lw, ac wedi aros yn hir am ei chyflawniad:

*Efe a gafodd yr addewid*: rhaid deall y geiriau hyn i olygu iddo gael cyflawniad yr addewid, oblegyd derbyniasai yr addewid fel addewid o'r blaen, ac heb hir-ymaros am dani. Ond yr anhawster yw y dywedir y gwrthwyneb yn 11[13,39], sef na dderbyniodd Abraham na neb o'r ffyddloniaid yr addewid. Dyma eto ddau fyd gwrth-gyferbyniol yr awdwr; ym myd hanes, cyflawnwyd yr addewid mewn rhyw ystyr, oblegyd cafodd Isaac fyw, daeth ei hâd yn genedl gref, a gallai'r "Hebreaid" weled fod yr addewid wedi ei chyflawni yn llythyrennol (fel yr aethai'r genedl i fewn i Ganaan hefyd 4[8]), ond nid hâd na Chanaan oedd llawn ystyr yr addewid, eithr "gwlad nefol" (11[16]) a pherffeithrwydd delfrydol y saint (11[40]). Fe gyflawnwyd yr addewid yn llythyrennol i Abraham, er nad yn ei ddydd ef, eto o fewn cylch hanes adnabyddus i'r "Hebreaid," a gellir deall brawddeg yr awdwr yn yr ystyr hwn. Ond y mae ei chyflawniad delfrydol, fel yr orffwysfa, eto'n ol i gael ei gorffen pan berffeithir teyrnas Crist.

**16-20.** Dwg yr awdwr yn awr yr egwyddor gyffredinol o sicrhau peth trwy lw, a'r engraiff neilltuol o lw Duw i Abraham, ynghyd i sichau gobaith y saint.

16 Canys dynion yn wir sydd yn tyngu i un a fo mwy: a llw er sicrwydd *sydd* derfyn iddynt ar bob ymryson.

17 Yn yr hyn Duw, yn ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid ddïanwadalwch ei gynghor, a gyfryngodd trwy lw:

---

**16.** *Canys dynion . . . . . . . i un a fo mwy:* **Yn enw un mwy**: gall olygu Duw, ond nid o angenrheidrwydd, oblegyd arferid tyngu wrth enwau eraill (Mt. $5^{34-36}$): digon oedd iddynt fod yn fwy na'r pleidiau; er hynny, cynhwysai pob llw yn y pendraw apel at Dduw i roddi grym iddo.

*A llw, &c.*: **A llw sydd iddynt hwy yn derfyn ar bob dadl i sicrhâd.** Sicrhâ llw yr hyn a ddywedir, a gesyd derfyn ar bob gwrth-ddywediad. Ni chymer yr awdwr i'r cyfrif y posibilrwydd o dyngu anudon, ond yn unig yr egwyddor a'r arfer gyffredin.

**17.** *Yn yr hyn*: **gan hynny**: sef yn gymaint a bod llw yn cadarnhau gosodiad tuhwnt i bob amheuaeth.

*Ewyllysio* neu fwriadu neu ddewis. Saif "ewyllysio" am ddau air Groeg, y naill yn pwysleisio gweithrediad yr ewyllys fel tueddiad y sawl sy'n ewyllysio, a'r llall yn pwysleisio'r amcan, y dewisiad neu'r bwriad sy'n lliwio'r ewyllys; yr olaf sydd yn y fan hon.

*Yn helaethach* na thrwy roddi addewid yn unig.

*Etifeddion*, yn hollol gyffredinol, Iddewon a Christionogion; pawb a gawsant addewid Duw dan unrhyw ffurf.

*Ei gynghor*: **ei fwriad**: yr un gwreiddair Groeg ag *ewyllysio* uchod; cynhwysai yr un peth a'r *addewid*, fel yr oedd ym meddwl Duw, cyn ei fynegi i ddynion. Golygir hwn hefyd yn hollol gyffredinol, sef bwriad Duw tuag at ddynion dan bob ffurf arno. Yn Nuw un bwriad sydd, ac un addewid hefyd, ond rhoddir ef i ddynion i'w sylweddoli dan lawer ffurf. (Gwel ar adn. 12 a 15). Nid oes yn y gair ei hunan un awgrym o'r cyngor bore, nac o athrawiaeth y Drindod, nac o unrhyw ymgynghori rhwng gwahanol bersonau, ac nis awgryma'r cysylltiadau yn y fan hon ychwaith ddim o'r fath.

18 Fel trwy ddau beth dïanwadal, yn y rhai *yr oedd* yn ammhosibl i Ddnw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cysur cryf, y rhai a ffoisom i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen :

---

*A gyfryngodd trwy lw* : gwell nag ymyl y ddalen "a'i sicrhaodd" ac na'r C.S.D "*interposed.*" Mewn llw rhwng dau ddyn gelwir trydydd un mwy i fewn i sicrhau y llw, ac felly i gyfryngu'r gwirionedd i'r ddau, i fod yn wr canol a diduedd a gosbai'r tyngwr pe ar gam, ac a'i hategai pan yn gywir. Rhwng Duw a dyn ni ellid cael trydydd un mwy nâ'r ddau, am hynny tyngodd Duw yn ei enw'i hunan; gwystlodd ei fodolaeth ei hunan ar gywirdeb ei air. I'r awdwr yr oedd gwahaniaeth clir rhwng Duw yn llefaru mewn addewid, a Duw yn ei hanfod dragwyddol, yr hwn oedd ateg y llw (gwel Adnodiad A), ac felly ymostyngai Duw yn îs at ddyn, a datguddiai ei hun yn llawnach iddo, yn y llw nag yn yr addewid.

**18.** *Dau beth dianwadol* neu anghyfnewidiol : sef yr addewid a'r llw. Nid am fod un ansicrwydd yn yr addewid ei hunan yr ychwanegodd Duw ei lw, ond i gwrdd a gwendid ffydd dynion, a rhoddi iddynt sail sicrwydd ychwanegol. Nis gellir deall y *cyngor* fel un o'r *ddau* yn y fan hon, oblegyd rhaid i'r cyngor ddod yn addewid cyn y gall dyn gael un wybodaeth na chysur o hono.

*Cysur*, dyddanwch, **anogaeth** : cyfieithir yr un gair yn *gynghor* yn 12[5] a 13[22] a'r ferf gyfatebol yn 3[12] *cynghorwch* : gwel nodiad yno. Gan fod sicrwydd deublyg Duw y tu ol i'w addewid, y mae'r anogaeth rymusaf i ninnau geisio ei hetifeddu.

*Y rhai a ffoisom, &c.* : Gellid cyfieithu **fel y gallem** ni **y rhai a ffoisom gael anogaeth gref i ddal gafael** (neu i **lynu) yn y gobaith a osodwyd o'n blaen** ; o blaid y cyfieithiad hwn, y mae ei fod yn dweyd i ba beth y mae'r anogaeth, tra y gedy'r llall ef yn agored ; ei fod yn cadw i *obaith* ei ystyr arferol o deimlad mewnol yn yr enaid tra

19 Yr hwn sydd gennym ni megis angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr, ac yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llèn.

---

y tybia'r Cyf. Cym. wrtho "wrthrych gobaith;" a'i fod yn rhoddi'r un ystyr i **ddal gafael** ag sydd yn $4^{14}$ (*glynwn*): ond o'r tu arall, gedy'r cyfieithad olaf y frawddeg *y rhai a ffoisom* megis i hongian yn yr awyr, heb ddweyd ffoi i beth, ac y mae'r frawddeg *a osodwyd o'n blaen* yn awgrymu mai *gobaith* fel gwrthrych yn hytrach nag fel ystâd y meddwl a ddylid ddeall. Gwell ar y cyfan yw cadw at y Cyf. Cym., gan ddeall mai **anogaeth gref** sydd i **ddal** y gobaith wedi *cymeryd gafael* arno, ac felly i'w wneud yn rhan fewnol ohonom.

*Y rhai a ffoisom* fel y troseddwr i ddinas noddfa, rhag y perygl oedd mewn anghrediniaeth ($3^{12}$ $4^{1,11}$ $6^{1\text{-}7}$), at obaith yr efengyl oedd o'n blaen fel porth agored yn arwain i ddiogelwch.

**19.** *Yr hwn*, sef y gobaith.

*Angor yr enaid*: Defnyddiai beirdd Groeg yr angor yn aml fel ffigyr am obaith, am mai dyna unig ddiogelwch y morwr mewn ystorm, yn yr hen amser pan gadwai yn agos at y tir.

Yma, wedi cymeryd gafael ar obaith a'i wneud yn rhan o'r enaid, daw yn gysylltiad cadarn rhwng dyn a'r anweledig i'w gadw yng nglyn wrtho, fel na ellir ei siglo na'u suddo gan ystormydd y byd hwn.

*Yn ddiogel*, fel na ollyngo ei afael, ac *yn sicr* neu gadarn, fel na thyrr, ac *yn myned i fewn* i afaelu yng nghraig y sylwedd tragwyddol, ac nid yn nhywod y byd hwn. Ond amheua esbonwyr a ddylid cysylltu'r geiriau hyn, ac yn arbennig yr olaf, â'r *angor*, ond yn unig â *gobaith*, oblegyd syniad braidd yn ddieithr yw bwrw angor i'r nefoedd, "tu fewn i'r llèn." Diau fod yr awdwr yn graddol golli golwg ar y ffigyr, ac mai gobaith oedd bennaf yn ei feddwl ynglyn â'r gair olaf; y mae terfyn i gymhwyster pob ffigyr (gwel ar adn. 7 a 8 cf. $2^{1}$).

20 I'r man yr aeth y rhag-flaenor drosom ni, *sef* Iesu, yr hwn a wnaethpwyd yn Arch-offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec.

---

*Llèn*: Defnyddir y gair Groeg yn yr LXX am bob un o ddwy lèn y tabernacl, ond yn y TN yn fwy cywir yn unig am y llèn rhwng y cysegr a'r cysegr sancteiddiolaf (10[20] Mt. 27[51]). Sylwer ar y ddau fyd eto. Trwy obaith caiff dyn afael ar y sylwedd tragwyddol yn y byd a ddaw, lle y mae ei etifeddiaeth berffaith, er ei fod yn byw yn y byd hwn, a llèn yn cuddio'r byd tragwyddol oddiwrtho.

Symuda'r awdwr o un ffigyr i'r llall: cafwyd gobaith yn gyntaf fel noddfa i ffoi iddi, ac yna fel angor yn cydio dyn wrth y byd tragwyddol, ond wrth son am y *tufewn i'r llèn*, y mae yn paratoi'r ffordd at ffigyr yr Archoffeiriad.

**20.** Dau beth sydd yn gwneud y *tufewn i'r llèn* yn angorfa gobaith dyn yw (1) fod Iesu wedi myned yno o'i flaen yn *rhagflaenor* iddo, ac felly yn wystl y caiff yntau gyrraedd, ac (2) ei fod yno yn gweini ei swydd arch-offeiriadol dros ddynion; a'r olaf yw sail y blaenaf. Am fod Iesu yn cynrychioli dynion ger bron Duw, ac yn gwneud cymod drostynt, y mae iddynt etifeddiaeth yno, a chant fyned i fewn iddi.

*Rhagflaenor*: Defnyddid y gair am y milwr a ai o flaen y fyddin i edrych ansawdd y wlad. Dyma wahaniaeth rhwng Iesu a'r offeiriaid Iddewig: ni chai neb fyned ar eu hol hwynt i'r cysegr. Ceir yr un syniad mewn gair a ffigyr wahanol yn 2[10] cf. Ioan 14[1-6].

*Iesu*: Yr enw dynol, i bwysleisio ei berthynas â dynion a'i gymhwyster i'w cynrychioli.

*Yr hwn a wnaethpwyd*: **wedi dyfod**, neu **gan ddyfod**: cynhwysai mynediad yr Iesu i fewn ei farwolaeth a'i esgyniad, ond nid yw yn eglur a oedd ei apwyntiad i'w swydd offeiriadol yn cyd-redeg â'i fynediad i fewn, neu ynte yn dod ar y diwedd gyda'i fod wedi esgyn.

*Yn dragwyddol*: gosoder y geiriau ar ddiwedd yr adn. fel yn y Groeg, oblegyd dyma brif ansoddair y bennod nesaf ($7^{3,16,17,21,24,25,28}$). A dyma'r awdwr, wedi ymdrin ag esgeulustra a pherygl yr "Hebreaid," wedi eu rhybuddio a'u hannog a'u calonogi, wedi dal ger eu bron addewid a gobaith eu hetifeddiaeth, yn dychwelyd am y tro olaf at brif bwnc ei lith, yr hyn hefyd yw sail pob anogaeth a gobaith, sef archoffeiriadaeth Crist.

## ADNODIAD F.

## ATHRAWIAETH SYRTHIAD ODDIWRTH RAS.

Nis gellir osgoi gofyn a yw yr athrawiaeth hon yn wir. Ac os nad yw, beth am ddwyfol ysprydoliaeth yr awdwr? Ar y pwynt olaf digon yw dweyd fod Duw yn ysprydoli dynion heb eu gwneud yn holl-wybodol, a'i fod yn datguddio ei hunan i'r byd trwy gyfryngau amherffaith, trwy iaith a syniadau yn perthyn i berson ac oes a gwlad arbennig. Os oedd profiad a thueddiad meddwl yr awdwr hwn wedi cuddio o'i olwg derfynau eithaf grâs Duw, nid yw ei ddysgeidiaeth am berson Crist a'i waith, lle yr oedd ei brofiad a'i amgyffrediad yn glir, yn llai ei gwerth am hynny. Ond yr oedd gan yr awdwr hefyd lawer o resymau da dros goleddu'r athrawiaeth a ddysga yn yr adnodau dan sylw. i. Dan yr hen oruchwyliaeth yr oedd dosbarth o bechodau nad oedd un drefn i gael maddeuant am danynt. "Ond y dyn a wnel bechod mewn rhyfyg . . . . . . cablu yr ARGLWYDD y mae: torrer ymaith y dyn hwnnw o fysg ei bobl" (Num. $15^{30}$ cf. Lef. $24^{11,16}$ Ex. $21^{12-17}$ 1 Bren. $21^{10,13}$). ii. Dysgai'r Moesegwyr Groegaidd mai gwybodaeth oedd rhinwedd, nas gallai dyn anwybodus fyw'n rhinweddol, na'r gwybodus beidio byw'n rhinweddol, ond y mae'r sawl sy'n gwrthod gwybodaeth wedi ei chael yn gosod ei hunan y tuallan i derfynau trefn foesol y Groegiaid. iii. Dysgodd Iesu Grist fod un math o bechod nad oes faddeuant am dano: "Eithr yr hwn a gablo yn erbyn yr Yspryd Glân, ni chaiff faddeuant yn dragywydd" (Marc $3^{29}$ Mt. $12^{31}$ Luc $12^{10}$). iv. Sonia Ioan am bechod farwolaeth nad oedd o un diben gweddio am waredigaeth

oddiwrtho (1 Ioan 5[16]). v. At hyn oll, diau y dylid ystyried mai rhoddi ffrwyth ei sylw ei hunan y mae'r awdwr. Gwelsai ddynion wedi dod i fewn i'r eglwys yng ngwres diwygiadau, ac yna wedi myned allan gan wrthod a gwawdio Crist, ond ni welodd yr un o honynt yn dod yn ol drachefn. Feallai fod ei brofiad yn rhy gyfyng i'w wneud yn ddeddf gyffredinol, ond nid anaturiol iddo ef oedd tynnu'r casgliad a wnaeth, os oedd ei feddwl o dan ddylanwad y syniadau uchod yn barod. Tuedda ymchwiliadau meddylegwyr crefyddol diweddar ategu ei gasgliad. Dywed Starbuck fod y rhan fwyaf o ddeffroadau crefyddol o bob math yn digwydd rhwng deg ac unarhugain oed (*The Psychology of Religion*, *pp*. 205, 28). Nid yw hyn yn cau allan adnewyddiad y gwrthgiliwr, ond gesyd derfynau lled gyfyng ar ei gyfleusterau.

Eto o'r tu arall y mae rhediad cyffredin dysgeidiaeth Crist a Paul yn dangos fod trugaredd Duw yn estyn at bob dyn ymhob cyflwr, ac fod adferiad a maddeuant yn bosibl i bawb (Mt. 9[13] 28[19] Luc 15 19[10] Ioan 3[16] 6[37] Rhuf. 5[8,20] 1 Tim. 1[15]). Am hynny dywed Luther yn groew fod dysgeidiaeth He ar edifeirwch yn gyfeiliornus. Awgryma T. C. Edwards yr un peth yn fwy cynnil: "Nid ymddengys i mi ei bod yn angenrheidiol i ni ystyried fod athrawiaethau'r efengyl yr un mor eglur i bob un o ysgrifenwyr y Testament Newydd" (t. 66). Ac y mae yn dra eglur na wnaeth diwinyddiaeth Gristionogol am lawer canrif archwilio holl faes diwinyddiaeth yn ei berthynas â phrofiad ac ewyllys dyn, a'u cysylltiad â therfynau cariad Duw, ac iawn Crist. Gormod gorchwyl eto yw penderfynnu pa un a all dyn byth fyned i gyflwr o anghrediniaeth nad oes moddion grâs a fedr ei adfer yn y byd hwn, ond tystia profiad a gwyddoniaeth fod y perygl o hynny yn fawr iawn. O'r tu arall ni fynnem ddweyd mor bendant a He nas gall dyn a ddychwelodd yn y diwygiad, ac a syrthiodd drachefn i gablu Crist, eto gael ei adfer trwy anfeidrol drugaredd Duw yng Nghrist. Pwy fedr dynnu'r llinell rhwng y llithriadau y mae maddeuant am danynt a'r gwrthgiliad sydd o bosibl yn anobeithiol? Pwy fedr ddweyd ble mae gwadiad Pedr yn gorffen a bradwriaeth Judas yn dechreu?

v. **Yr offeiriad yn ol urdd Melchisedec** (pen. 7).

*(a) Hanes Melchisedec.* Mewn dau fan yn yr HD y sonir am Melchisedec, sef yn Gen. $14^{18-20}$ a Salm $110^{4}$; ni cheir un cyfeiriad ato yn yr Apocrypha, ac ni sonir am dano yn y TN ond yn He. Yn Gen. 14, cofnodir i Abram ymlid ar ol Chedorlaomer a'r rhai ddaeth gydag ef i anrheithio Sodom, a'u gorchfygu, a dwyn yn ol Lot a'r anrhaith; ar ei ddychweliad aeth brenin Sodom allan i'w groesawu i ddyffryn Safeh, ac ar yr un pryd "Melchisedec hefyd, brenin Salem, a ddug allan fara a gwin, ac efe *oedd* offeiriad i Dduw goruchaf: ac a'i bendithiodd ef, ac a ddywedodd, Bendigedig fyddo Abram gan Dduw goruchaf, meddiannydd nefoedd a daear: a bendigedig fyddo Duw goruchaf, yr hwn a roddes dy elynion yn dy law. Ac efe a roddes iddo ddegwm o'r cwbl." Ni pherthyn i esboniadaeth He i ymholi pa mor bell y mae'r adroddiad uchod i'w gymeryd fel hanes cywir (gwel ar hynny esboniadau Driver a Skinner ar Gen.), oblegyd defnyddia'r awdwr yr adnodau fel y maent, a rhaid i'w esbonwyr wneud yr un peth. Yr oll a ddywedir ynte am Melchisedec yn yr HD, neu yn unlle arall, mewn ffordd o hanes yw (1) ei fod yn frenin Salem, (2) ei fod yn offeiriad Duw goruchaf, (3) iddo ddwyn bara a gwin i ymgeleddu Abram, (4) iddo fendithio Abram yn enw Duw goruchaf, (5) iddo fendithio Duw goruchaf am fuddugoliaeth Abram, ac (6) i Abram roddi degwm iddo o'r anrhaith, gan ddychwelyd y gweddill i frenin Sodom. Ni ddengys hyn oll fod dim yn eithriadol ym Melchisedec rhagor rhyw dywysog Canaaneaidd arall. Yr unig wahaniaeth rhyngddo ag Abram oedd fod ei lwyth ef yn sefydlog mewn un rhan o'r wlad, tra yr oedd Abram a'i lwyth yn crwydro fel Arabiaid. Yr oedd yn arferiad gyffredin yn y cyfnod hwnnw fod y tad yn y teulu a'r tywysog yn y llwyth yn cyflawni gwaith offeiriad. (Gen. $22^{13}$ $31^{54}$ $46^{1}$ Barn $6^{26}$). Yn 1 Sam. $13^{9-14}$ a $14^{34-35}$, gwelir y cyfnewidiad yn dod i fewn, a'r urdd offeiriadol-frenhinol yn cael ei gwahaniaethu oddiwrth y frenhiniaeth newydd, ac yn ymdrechu'n llwyddiannus i gadw'r hawl i aberthu iddi ei hunan. Nid oedd ychwaith ddim yn eithriadol fod Melchisedec yn addoli Duw goruchaf

(*El Elyon*), oblegyd yr oedd yr enw *El* am Dduw yn gyffredin i'r llwythau Canaaneaidd, ac fel rheol un Duw a addolai pob llwyth, ac yn naturiol credent mai hwnnw oedd y Duw goruchaf, er y cydnabyddent fodolaeth duwiau'r llwythau eraill.

Yn Salm 110[4], ni ychwanegir dim at hanes Melchisedec, ond rhydd y Salmydd esboniad newydd arno. Cyferchir rhyw frenin Iddewig, oedd hefyd yn offeiriad (gwel ar 1[13] a 5[6]):

> Tyngodd yr Arglwydd, ac nid edifarha,
> Ti wyt offeiriad yn dragywyddol,
> Yn ol urdd Melchisedec.

Diau y teimlai'r Iddewon ceidwadol wrthwynebiad i'r un person fod yn frenin ac offeiriad, a dwg y Salmydd enw Melchisedec i fewn i amddiffyn y cyfnewidiad. Pa un a oedd rhyw draddodiad neu athrawiaeth wedi codi cyn hyn ymhlith yr Iddewon, yn priodoli i Melchisedec ryw urdd offeiriadol arbennig, nis gellir cael sicrwydd; ond mwy tebygol yw mai eiddo'r Salmydd hwn yw'r syniad; oblegyd ni cheir cyfeiriad arall at Melchisedec mewn llenyddiaeth Iddewig hyd nes y deuir at Philo. Ac nid oes un arwydd yn Philo ei fod yn tynnu ar un traddodiad heblaw yr hyn a geir yn Gen. 14. Byrr iawn yw ei ymdriniaeth ag ef, ac ychydig ystyr a welodd ynddo mewn cymhariaeth â'r hyn a wnaeth o rai enwau eraill o'r HD, megis Cain ac Abel. Gwel ynddo, fel y gwelai ymhawb eraill, y Gair neu'r Rheswm, "oblegyd offeiriad yw Rheswm a chanddo'r Hunan-fodol yn etifeddiaeth iddo, ac yn cartrefu meddyliau aruchel, dyrchafedig ac ardderchog am dano, oblegyd offeiriad y Duw goruchaf yw efe." Gall fod yr ychydig eiriau hyn yn Philo wedi awgrymu i awdwr He gymhwyster Melchisedec i gasglu ei athrawiaeth o'i gylch, ond y mae'r athrawiaeth ei hunan yn anibynnol ar Philo ac ar bawb eraill cyn belled ag y gwyddis, ac yn gynnyrch meddwl yr awdwr ar sail yr ychydig gyfeiriadau yn Gen. 14 a Salm 110.

(*b*) *Ffurfiad athrawiaeth yr epistol.* Cychwyna'r awdwr gydag athrawiaeth arbennig am offeiriadaeth Crist yn ei feddwl, a'r ddau bwynt a fynn ddwyn allan gyntaf yw

(1) ei bod yn un dragwyddol, ac (2) ei bod yn rhagori ar yr offeiriadaeth Iddewig ac yn cymeryd ei lle. Er profi'r pwyntiau hyn, aiff yn ol ei arfer at yr HD. Ac fel yr aethai Paul i brofi rhagoriaeth y cyfamod Cristionogol ar yr un Iddewig trwy ei ddeilliaw o Abraham, am fod hwnnw o flaen Moses (Gal. $3^{17}$), felly ceisia'r awdwr sail i offeiriadaeth Crist y tu ol i'r offeiriadaeth Iddewig, ond ei bod hefyd wedi ei chadarnhau ar ol sefydliad yr offeiriadaeth Iddewig (Salm $110^{4}$ He $7^{28}$). Trwy ei esboniadaeth alegoraidd gwisga'r hanes â holl hanfodion yr athrawiaeth a fynnai ei dysgu ar ei bwys. Yn gyntaf, rhydd ystyr newydd i'r hyn a ddywed yr hanes; gwna offeiradaeth syml yr hen bennaeth Canaaneaidd yn urdd arbennig oedd yn ei osod uwchlaw Abraham. Ac yn ail, darllena ei brif bwynt i fewn i ddistawrwydd yr hanes yn Gen. Arferai Philo yn yr un modd yn ei esboniadaeth alegoraidd roddi ystyr arbennig i ddistawrwydd yr HD. Felly yma, gan na ddywed Gen. ddim am achau na dechreu na diwedd Melchisedec, gesyd He megis yn y gwagle ei fod "heb dad, heb fam, heb linach, heb fod iddo na dechreu dyddiau na diwedd einioes." Wrth reswm ni olygai Gen. 14 ddim o'r fath am Melchisedec, mwy nag am y brenhinoedd eraill y sonir am danynt heb roddi eu llinach. Dygwyd y naill a'r llall i fewn yn unig cyn belled ag yr oedd a fynent ag Abraham. Ac nid yw yn debyg o gwbl y golygai He ychwaith ddweyd fod Melchisedec yn llythyrennol heb rieni nac achau, heb ddechreu na diwedd, ond yn unig fod yr hanes yn Gen. yn peri iddo ymddangos felly, ac am hynny yn ei wneud yn ddarlun neu gysgod cymwys o'r offeiriad tragwyddol. (Gwel Adnodiad C).

(*c*) *Y Tebygrwydd rhwng Melchisedec a Christ.* Y pwyntiau o debygrwydd a ddanghosir ydynt: (1) fod Melchisedec a Christ bôb un yn frenin ac offeiriad; (2) na dderbyniodd yr un o honynt ei offeiriadaeth trwy olyniaeth achyddol; (3) nad oedd y naill na'r llall o lwyth Lefi; (4) fod y ddau yn rhagori ar Abraham, ac felly ar ei ddisgynyddion, yr offeiriaid Iddewig; (5) fod pob un o'r ddau heb ddechreu na diwedd, "yn offeiriad yn dragywydd."

VII 1 CANYS y Melchisedec hwn, brenhin Salem, offeiriad y

---

(*d*) *Hanes diweddarach yr athrawiaeth.* Cynhyrchodd dysgeidiaeth He am Melchisedec lawer o ddamcaniaethau am dano wedi hynny mewn cylchoedd Iddewig a Christionogol. (1) Feallai mai i droi yn ol ddysgeidiaeth He fod Melchisedec heb ddechreuad nac achau y dysgai'r ysgrifeniadau Iddewig a elwir y Targumiau mai yr un oedd Melchisedec a Sem fab Noah, a dywed Jerome ac Epiphanius fod y syniad hwn yn gyffredin ym mhlith yr Iddewon yn eu dyddiau hwy. Syniad Iddewig arall oedd mai ymddangosiad neilltuol o'r Messiah oedd efe. (2) Yn yr eglwys Gristionogol, dysgai Origen, yn ol tystiolaeth Jerome, mai angel ydoedd, tra y daliai eraill, yn ol Epiphanius, mai Mab Duw mewn ffurf ddynol oedd efe. Yr Yspryd Glân oedd ef meddai Hieracas. Dysgai un Theodotus o Rufain, yr hwn hefyd a wadai ddwyfoldeb Crist, fod Melchisedec yn Allu nefol uwch na Christ, ac yn cyflawni swydd offeiriad ac eiriolwr ar ran yr angylion, fel y gwnai Crist dros ddynion. Yn y bedwaredd ganrif, cododd sect a elwid y Melchisedeciaid, y rhai a ddysgent athrawiaeth gyffelyb, sef fod Melchisedec yn Allu neu Rinwedd neu Ddylanwad wedi dod allan o Dduw, ac yn uwch na Christ. Gwelir oddiwrth y tybiau hyn mor hawdd y cyfyd syniadau gwylltion a gwrthun, unwaith y gadewir tir caled ffaith a hanes.

### (1) *Nodweddion Melchisedec.* $7^{1-3}$

VII. 1. *Canys*: Eglura'r hyn sy'n dilyn y frawddeg olaf yn $6^{20}$. Sylwer mai brawddegau dibynnol yw yr oll o *brenin Salem* . . . . hyd *Fab Duw* yn adn. 3, ac mai'r brif frawddeg yw *Canys y M. hwn* . . . . *sydd yn aros yn offeiriad yn dragywydd.*

*Salem*: Yr oedd amryw leoedd yn dwyn yr enw hwn ym Mhalestina, ac nis gellir penderfynnu pa un o honynt a olygir. Dywed rhai mai'r Salim a nodir yn Ioan $3^{23}$ ydyw. Arferid tybied nas gallai olygu Jerusalem, am mai Jebus oedd hen enw'r ddinas (Josh. $18^{28}$ Barn. $19^{10}$); ond dengys hen lythyrau ar briddfeini a ddarganfyddwyd

Duw Goruchaf, yr hwn a gyfarfu âg Abraham wrth ddychwelyd o ladd y brenhinoedd, ac a'i bendithiodd ef;

---

yn Tel el-Amarna yn yr Aifft fod yr enw Jerusalem, neu un cyffelyb iddo (*Uru-Salim*), mewn arferiad o leiaf mor fore a 1400 CC. Gelwir hi yn Salem hefyd yn Salm 76[2]; ond nid yw o fawr pwys i benderfynnu'r pwynt, oblegyd ystyr y gair, sef *heddwch* neu **heddychol** sydd ym meddwl yr awdwr.

*Duw goruchaf*: Ceir y frawddeg Hebraeg hefyd yn Num. 24[16] Dt. 32[8], ac mewn amryw Salmau, a'r Groeg ym Marc 5[7] Luc 8[28] Act. 16[17]. Dynoda fawredd Duw ynddo'i hunan heb un cyfeiriad at dduwiau eraill llai. Undduwiaeth ymarferol oedd crefydd y llwythau Canaaneaidd. Addolent un Duw, megis Jehofah, Chemosh, Moloch neu Baal, ond heb wadu bodolaeth duwiau eraill. Arferai amryw lwythau'r frawddeg hon am ei duw hwy, ond gellir casglu oddiwrth Gen. 14[22] nad oedd yr hanesydd yno yn gwahaniaethu rhwng Duw goruchaf Melchisedec a'r ARGLWYDD, sef Jehofah Duw Israel. Ac wrth reswm nid yw He yn gwahaniaethu rhyngddynt, gan na chydnabyddai efe fodolaeth ond un Duw, a hwnnw yr un â Jehofah.

*Wrth ddychwelyd*: **yn dychwelyd.**

*O ladd*: **o daro** neu **orchfygu.**

*A'i bendithiodd ef*: Bendithio dyn yw dymuno neu fynegi ewyllys da Duw tuag ato (Gen. 27[28-29] Num. 6[24-26]); bendithio Duw yw cydnabod a mynegi'r daioni sydd ynddo (Gen. 14[20]). Gafael gref ar feddwl dynion ym mhob oes a gwlad sydd gan yr ofergoeliaeth y gall dosbarthiadau arbennig o ddynion, megis proffwydi, offeiriaid a swynwyr, orchymyn ac achosi bendith neu felldith Duw ar ddynion. Ond gwrthodir y syniad hwn yn y Beibl (Num. 22[6,38]).

**2.** *Cyfrannodd Abraham ddegwm.* Yr oedd yn arferiad gyffredin ymhlith y rhan fwyaf o genhedloedd yr hen fyd i dalu degwm o gynnyrch y tir, ac o ffynhonellau eraill, i dduw'r wlad; a chan yr ystyrrid y duw hefyd yn frenin

2 I'r hwn hefyd y cyfrannodd Abraham ddegwm o bob peth: yr
hwn yn gyntaf, o'i gyfieithu, *yw* Brenhin cyfiawnder ac wedi
hynny hefyd, Brenhin Salem, yr hyn yw Brenhin heddwch;

---

y wlad, yr oedd y degwm yn dreth wladol yn ogystal a chrefyddol; yn aml telid y dreth i drysorfa'r brenin, neu byddai teml y duw a thrysorfa'r wladwriaeth yn un, a chynhelid y gwasanaeth crefyddol allan o drysorfa'r brenin. Lle'r oedd y brenin a'r offeiriad yr un, fel yr oedd Melchisedec, yr oedd y dreth wladol a chrefyddol o angenrheidrwydd yn un hefyd. Ni sonir am ddegwm yn llenyddiaeth hynaf Israel, ac ymddengys mai ar ol dyddiau Solomon y daeth yr arferiad yn gyffredin, ac mai ei mabwysiadu a wnaed oddiwrth y llwythau Canaanaidd eraill, oblegyd gofynnai gyfnod o drigiannu mewn gwlad amaethyddol i wneud yr arferiad yn bosibl ac angenrheidiol. (Gwel Robertson Smith: *Religion of the Semites* a Rouse; *Greek Votive Offerings*). Dysgai'r offeiriaid fod yr arferiad wedi deilliaw oddiwrth Moses. (Lef. $27^{20-32}$ Num. $18^{20-24}$). Gan fod Melchisedec yn frenin-offeiriad, gallasai degwm Abraham fod yn dreth neu doll a godai'r brenin arno am fynd trwy ei wlad, neu am ryw fraint neu wasanaeth arall. Golygir yn He mai degwm crefyddol hollol ydoedd.

*Brenin cyfiawnder*: Melchi, melech,=*brenin*, a sedec, =*cyfiawnder*. *Salem*, Hebreaeg am *heddwch*. Nodwedd bersonol y brenin oedd *cyfiawnder*, ond gellir priodoli *heddwch* iddo ef neu ei deyrnas. Esboniadaeth He yn unig sydd yn cysylltu'r nodweddion hyn ag ef a'i deyrnas, oblegyd nid oedd yn rhaid fod Melchisedec na'i deyrnas yn cyfateb i'w henwau. Priodolid yr un nodweddion i'r Messiah a'i deyrnas gan y proffwydi. (Es. $9^{1-7}$ $32^1$ Jer. $23^3$ Zech. $9^9$). Y tebygrwydd cyntaf rhwng Melchisedec a Christ yw fod offeiriadaeth y ddau yn frenhinol, a'u brenhiniaeth yn gyfiawn ac heddychol.

3, *Heb dad, &c.* Neilltuolion Melchisedec fel offeiriad a nodir yn yr adn. hon. Tra yr oedd hawl yr offeiriaid Lefiaidd i'w swydd yn dibynnu yn hollol ar eu hachyddiaeth bur (Neh. $7^{63-65}$), hanfodai'r offeiriadaeth yn ol urdd

3 Heb dad, heb fam, heb achau, heb fod iddo na dechreu dyddiau na diwedd einioes; eithr wedi ei wneuthur yn gyffelyb i Fab Duw sydd yn aros yn Offeiriad yn dragywydd.

---

Melchisedec yn unig ym mherson yr offeiriad, oblegyd na sonir am achyddiaeth nac olyniaeth ynglyn ag ef. Rheol achyddiaeth yr offeiriad Iddewig oedd iddo ddisgŷn o deulu Aaron o du ei dad, ac o genedl Israel o du ei fam (Num. $16^{40}$ Neh. $7^{63}$). Fel y dywedwyd uchod, ni olygir na fu i Melchisedec rieni na genedigaeth na marwolaeth, ond na sonir am danynt yn Gen., ac am hyny na pherthynent iddo fel offeiriad. Rhyw ddigwyddiadau dibwys yn perthyn i hanes oedd y rhai hynny, ond ym myd meddylddrychau—byd llawer pwysicach yn ol He—safai Melchisedec ar ei ben ei hunan, heb ddibynnu ar unrhyw amgylchiadau amserol na dynol; ac o'i ddeall felly yr oedd yn arwyddlun tarawiadol o offeiriadaeth Crist, yr hon hefyd a hanfodai ym mherson yr Offeiriad, ac a berthynai i'r byd tragwyddol uwchlaw holl delerau amser a daear. Ymddangosai'r hanes yn fwy tarawiadol ac arwyddocaol gan mai llyfr achau i raddau helaeth yw Gen. Ond nid yw hynny mor rhyfedd ag yr ymddengys ar y wyneb. Gŵyr pawb bellach mai llyfr cyfansawdd yw Gen. wedi ei gyd-gordeddu o dair ysgrif wahanol, ac i'r ysgrif offeiriadol (fel y'i gelwir) y perthynai'r achau, ond nid oedd pen. 14 yn rhan o honno.

*Heb achau*: **heb linach** neu **achres,** megis eiddo Sem (gwel adn. 6 a Gen. 5).

*Wedi ei wneuthur yn gyffelyb i Fab Duw*: neu **wedi ei gyffelybu;** h.y. yn y portreiad o hono yn Gen., ac mor bell a'i fod yn ymddangos heb ddechreu na diwedd, ond nid o ran ei natur na'i berson hanesyddol. *Mab Duw* yn ei hanfod dragwyddol ($1^{2,3}$ $10^{12}$, $9^{14}$) yw'r sylwedd gwreiddiol, a Melchisedec yw'r arwyddlun neu'r cysgod o hono.

*Yn aros yn offeiriad yn dragywydd*: **yn barhaus** neu **ddidor.** Nid y syniad yw fod Melchisedec yn parhau byth i weinyddu ei swydd offeiriadol yn y nef, fel y tybiai llawer o'r damcaniaethau y cyfeiriwyd atynt uchod,

4 Edrychwch faint *oedd* hwn, i'r hwn hefyd y rhoddodd Abraham y patriarch ddegwm o'r anrhaith.

---

oblegyd Crist yn unig sydd yn offeiriad tragwyddol yn yr ystyr honno. A chamgymeriad yw ceisio rhesymoli'r frawddeg fel ffaith hanesyddol, a chwilio am barhad offeiriadaeth Melchisedec ym mharhad ei ddylanwad personol ar y byd (Edwards), oblegyd ni wyddis dim am ei berson na'i ddylanwad, ac ni pherthyn y fath syniad i gylch meddwl yr awdwr yn y fan hon. Ond gan na sonia'r ysgrythyr am ei ddiwedd, saif darlun yr offeiriad ger ein bron o hyd heb un olynydd i'w wthio o'r neilltu. Meddylddrych ac nid ffaith hanesyddol a ddynodir. "Fel darlun [ar y mur] erys o hyd yr un; dilyna ni a'i lygaid, yn frenin ac offeiriad, o hyd ar ei ben ei hun, heb achyddiaeth offeiriadol o'i flaen nac olyniaeth offeiriadol ar ei ol, o hyd yn fyw—felly y dengys yr ysgrythyr ef, ac felly yn barhaus y gwelwn ninnau ef ar ei thudalenau" (Davidson). A hwn yw'r pwynt pwysicaf yn y darlun, oblegyd cysgod yw o'r ffaith fod Iesu Grist mewn gwirionedd *yn aros yn offeiriad yn dragywydd.*

(2) *Rhagoriaeth urdd Melchisedec ar eiddo Aaron.* $7^{4\text{-}10}$

4. *Edrychwch faint*: **mor fawr**, gan fod Abraham, ac yntau yn dad y genedl etholedig, wedi cydnabod ei uchafiaeth trwy dalu degwm iddo.

*Patriarch:* sylfaenydd teulu neu lwyth; ar y gair hwn y mae'r pwyslais, gan ei fod yn dynodi urddas Abraham, ac felly urddas mwy Melchisedec. Caua allan hefyd y posibilrwydd i unrhyw Iddew ddadleu mai rhyw Abraham arall llai urddasol a olygir.

*Anrhaith*: golyga'r gair Groeg "y rhan oreu o'r anrhaith."

5-7. Cydnabyddir urddas swyddogol yr offeiriaid Lefiaidd, oblegyd cymerent hwy ddegwm gan y bobl etholedig, a danghosir felly yn eglurach urddas mwy Melchisedec; degwm gan eu brodyr yn unig a gymerai'r

5 A'r rhai yn wir *sydd* o feibion Lefi yn derbyn swydd yr offeiriadaeth, y mae ganddynt orchymyn i gymmeryd degwm gan y bobl yn ol y gyfraith, sef gan eu brodyr, er eu bod wedi dyfod o lwynau Abraham :

---

offeiriaid Lefiaidd, a hynny trwy rym cyfraith, ond yr oedd ei awdurdod ef yn ehangach, oblegyd cymerai ddegwm nid yn unig gan ei bobl ei hun, ond gan Abraham, tad y genedl Iddewig, ac nid trwy rym deddf, ond yn rhinwedd ei safle offeiriadol yn ei berson ei hunan. Ac nid yn unig derbyn a wnaeth efe, ond rhoddodd hefyd, wrth fendithio Abraham.

Unig amcan yr adran hon yw dangos uchafiaeth urdd Melchisedec ar eiddo Aaron, oblegyd ni ddanghosir un gyfatebiaeth rhwng derbyn degwm a dim a wna Crist.

5. *A'r rhai yn wir* [sydd] *o feibion Lefi* : sef yn deilliaw o honynt trwy achyddiaeth.

*Yn derbyn* : gellir cyfieithu **wrth** neu **pan yn derbyn,** neu **gan eu bod yn derbyn,** ond cystal cadw at y Cyf. Cym. Gall y frawddeg ynddi ei hun olygu fod "y Lefiaid sydd yn offeiriaid" yn derbyn degwm, ond dibwynt fyddai dweyd hynny, ac awgrymai na dderbyniai'r Lefiaid eraill ddegwm, yr hyn fyddai anghywir. Yr ystyr yw "yr offeiriaid sydd o lwyth Lefi" mewn gwrthgyferbyniad i'r offeiriadaeth nad yw o lwyth Lefi.

*Swydd* : yn hytrach **gwasanaeth.**

*Orchymyn . . . . . yn ol y gyfraith* : yn llythyrennol y Lefiaid a dderbynient ddegwm gan y bobl, a'r offeiriaid gan y Lefiaid, ond mewn effaith deuai degwm yr offeiriaid hefyd oddiwrth y bobl (Num. 18[21-24 26-28]).

*Y bobl . . . . eu brodyr* : eu cyd-Israeliaid : ni pherthynai i'r offeiriaid Lefiaidd unrhyw ragoriaeth ar eu brodyr, ond yr hyn a roddid iddynt gan swydd a gorchymyn cyfraith. Ond yr oedd hynny yn rhagoriaeth o ryw fath iddynt dros y rhai oedd fel hwythau o hâd Abraham.

6 Eithr yr hwn nid oedd ei achau o honynt hwy, a gymmerodd ddegwm gan Abraham, ac a fendithiodd yr hwn yr oedd yr addewidion iddo.

7 Ac yn ddiddadl, yr hwn *sydd* leiaf a fendithir gan ei well.

---

**6.** Nid oedd gan Melchisedec un hawl achyddol i'r degwm, ond gan iddo ei gymeryd, rhaid fod ganddo ryw hawl uwch.

*A gymmerodd . . . . . . ac a fendithiodd*: yn hytrach, **sydd wedi cymeryd . . . . . . ac wedi bendithio**: dynoda amser y ddwy ferf weithredoedd wedi dechreu yn y gorffennol ac yn parhau i'r presennol. Yr un syniad sydd yma ac yn adn. 3, sef fod gweithredoedd Melchisedec fel arwyddluniau yn parhau ymlaen, a'u bod o hyd yn bresennol.

*A fendithiodd yr hwn yr oedd yr addewidion iddo*: yn hytrach, **yr hwn y mae yr addewidion ganddo**: dygir yr holl hanes ymlaen i'r presennol. Cawsai Abraham anrhydedd fawr gan Dduw yn nerbyniad yr addewidion, ac mor fawr y rhaid fod Melchisedec gan ei fod yn gyfrwng rhagor o ddaioni Duw i Abraham. Dywedir yn Gen. 14[18] iddo hefyd ddwyn bara a gwin Abraham, ac y mae rhai esbonwyr wedi gweled yn y rhai hyn ddarluniau o aberth Crist ac o Swper yr Arglwydd, ac o lawer o bethau eraill, ond ni welodd awdwr He ddim ynddynt i ateb ei bwrpas ef, ac felly ni sonia am danynt.

**7.** *Yr hwn sydd leiaf*: llyth. **yr hyn sydd lai**: mynegir egwyddor gyffredinol gan adael i'r darllenydd dynnu'r casgliad. Nid yw yn debyg fod Melchisedec fel person hanesyddol yn well nag Abraham, na chystal ag ef. Ond yn y safle offeiriadol a rydd He iddo, yr oedd yn well o gymaint ag y bu yn gyfrwng ewyllys ddaionus Duw i Abraham.

**8-10.** Rhagorai Melchisedec ar yr offeiriaid Lefiaid, nid yn unig trwy ei berthynas ag Abraham, ond hefyd mewn cymhariaeth â hwy eu hunain. Y maent hwy yn meirw ac yntau yn fyw; ac mewn ystyr talasant hwythau hefyd ddegwm iddo ef, gan gydnabod felly ei uchafiaeth.

8 Ac yma y mae dynion y rhai sydd yn meirw yn cymmeryd degymmau: eithr yno, yr hwn y tystiolaethwyd am dano ei fod ef yn fyw.

9 Ac, fel y dywedwyf felly, yn Abraham y talodd Lefi hefyd ddegwm, yr hwn oedd yn cymmeryd degymmau.

---

8. *Yma*: Yn yr offeiriadaeth Lefiaidd ac Iddewig, sydd fel mater o hanes yn agos a gweledig i'r awdwr a'i ddarllenwyr.

*Dynion y rhai sydd yn meirw*: ffaith wybyddus oedd fod yr offeiriaid Iddewig yn marw, a'r mab yn dod i ddilyn y tad.

*Yno*: yn offeiriadaeth Melchisedec.

*Yr hwn y tystiolaethwyd, &c.*: yn llythyrennol nid oedd y fath dystiolaeth ar gael, ond seilia'r awdwr ei osodiad ar ddistawrwydd Gen. 14, fel yr eglurwyd ar adn. 1—4; gan na ddywedir dim am ei farwolaeth, saif fel darlun o offeiriad byw o hyd gerbron darllenwyr yr HD.

*Degymau*: Gall fod y lliosog yn cyfeirio naill ai at y gwahanol fathau o ddegymau o dan yr hen oruchwyliaeth, neu at yr amrywiol bethau a ddegymid.

9. Gellir cyfieithu'r adn.: **Ac mewn ystyr, trwy Abraham, degymwyd hefyd y degymwr Lefi.**

*Fel y dywedwyf felly*: **braidd na ellir dweyd**, neu **gellir dweyd mewn ystyr**: Golyga na ddylid cymeryd y gosodiad yn rhy llythyrennol.

*Yn Abraham*: **trwy Abraham.**

*Lefi*: enw cynhulliadol (*collective*) y llwyth, ac yn cynnwys felly yr holl offeiriadaeth Iddewig. Er mai Aaron oedd pen llinach yr offeiriadaeth, ni ddefnyddid ei enw ef mewn ystyr gynhulliadol, a phe dywedasai "talodd Aaron ddegwm," ni olygai hynny ragor na bod Aaron ei hunan wedi talu: "urdd Aaron" (adn. 11) ond "llwyth Lefi."

*Talodd Lefi ddegwm*: yn hytrach, **degymwyd Lefi**; goddefol ac nid gweithredol oedd Lefi yn y drafodaeth.

10 Oblegyd yr ydoedd efe etto yn lwynau ei dad pan gyfarfu Melchisedec âg ef.

---

**10.** Dysgai'r Iddewon athrawiaeth unoliaeth a chyfanrwydd yr holl hil ddynol mewn ffordd dra llythyrennol. Rhydd Dr. Marcus Dods ddau ddyfynniad o'r ysgrifenwyr Iddewig; "Galwodd Duw y pâr dynol cyntaf Adda (dyn), oblegyd fod pawb dynion ynddynt mewn posibilrwydd ac yn ymarferol." "Yn yr un pechod a bechodd y dyn cyntaf, pechodd yr holl fyd, gan fod yr holl fyd ynddo." Ar sail y syniad hwn y dysgai Awstin a'i ddilynwyr fod enaid dyn fel ei gorff yn deilliaw o'i rieni, ac fod pechod gwreiddiol Adda yn disgyn yn ei holl bwysau ar yr holl hîl. Felly yma tybir fod gweithred Abraham (mewn ystyr) yn weithred ei holl hiliogaeth.

(3) *Cyfnewid offeiriadaeth ddiffygiol Aaron am offeiriadaeth berffaith Crist.* $7^{11-19}$

Wedi cymharu'r ddwy urdd, aiff yr awdwr yn ei flaen oddiwrth feddylddrychau'r ddwy offeiriadaeth i gymharu eu ffeithiau, fel y'u gwelir ar y naill law yn hanes yr offeiriadaeth Iddewig, ac ar y llaw arall ym mherson a gwaith offeiriadol Crist. Ac yn rhwym yn nhynged yr offeiriadaeth Iddewig y mae'r gyfraith hefyd, sef holl gyfundrefn yr hen oruchwyliaeth; lle metha'r naill, fe fetha'r llall. Ac yn gymaint a methu o offeiriadaeth Lefi a dwyn dim i berffeithrwydd, cododd offeiriadaeth well "yn ol urdd Melchisedec," ac aiff y gyntaf heibio a'r gyfundrefn sydd ynglyn â hi. Hefyd, y mae egwyddor y ddwy offeiriadaeth yn wahanol, y naill yn ol deddf ddaearol a'r llall "yn ol nerth bywyd annherfynol." Derfydd y gyntaf yn herwydd ei llesgedd a'i haneffeithiolrwydd, ond dwg yr olaf ni i berffeithrwydd, sef at Dduw.

**11.** *Os ydoedd gan hynny berffeithrwydd, &c.*: neu gellir cyfieithu, **pe buasai gan hynny berffeithiad . . . pa raid mwyach fuasai godi, &c.**: pe buasai'r offeiriadaeth Lefiaidd wedi sylweddoli perffeithrwydd yr hyn ddylasai

11 Os ydoedd gan hynny berffeithrwydd trwy offeiriadaeth Lefi (oblegyd dan honno y rhoddwyd y gyfraith i'r bobl), pa raid *oedd* mwyach godi Offeiriad arall yn ol urdd Melchisedec, ac nas gelwid ef yn ol urdd Aaron ?

---

offeiriadaeth wneud, ni fuasai angen na lle i offeiriadaeth arall godi; ond y mae yn amlwg na wnaeth, oblegyd cyn sefydlu'r offeiriadaeth Lefiaidd rhoddasid arwyddlun o offeiriadaeth uwch o dan enw gwahanol; cyhoeddwyd hi drachefn gan y Salmydd, a daeth yn ffaith yn Iesu Grist.

*Berffeithrwydd* neu **berffeithiad:** nid cysegriad seremonial na pherffeiddrwydd moesol a olygir (fel y tybia rhai) ond y weithred o sylweddoli delfryd, o gyrraedd nôd neu sylweddoli amcan offeiriadaeth, sef dwyn dynion at Dduw. (Adn. 19. Gwel ar 2[10] ac Adnodiad E).

*Offeiriadaeth Lefi*: **Lefiaidd:** dynodir y swydd yn hytrach na'r gwasanaeth yn y fan hon; gair gwahanol sydd yn adn. 5. Gelwir hi yn **Lefiaidd,** i gasglu ynghyd yr holl gyfundrefn a'i gweinidogion mewn un meddylddrych. (Gwel ar adn. 9).

*Oblegyd dan honno, &c.*: neu **ar sail honno:** Y syniad a ddysgir yw mai prif amcan crefydd yw dwyn dynion at Dduw, a'r offeiriadaeth yw'r cyfrwng i wneud hynny; felly hi yw sylfaen a chanolbwynt crefydd. Os metha'r offeiriadaeth, os na ddygir dynion at Dduw, metha crefydd yn ei phrif amcan. Er mwyn cymharu Iddewaeth â Christionogaeth, digon yw cymharu'r ddwy offeiriadaeth, ac os metha'r naill ddwyn dynion at Dduw tra y llwydda'r llall, profir felly fod y gyntaf yn ddiffygiol ac anigonol, a'r ail yn ddigonol a therfynol. Danghosir yn nes ymlaen beth ddylai offeiriadaeth wneud er gallu dwyn dynion at Dduw, sef rhoddi aberth dros bechod, eiriol a chwbl achub. (Adn. 25 a 27).

*Y Gyfraith*: Nid yn unig y ddeddf foesol, nac ychwaith yr un seremoniol, ond holl gyfundrefn y grefydd Iddewig fel y'i rhoddwyd yn rheol bywyd i'r genedl.

12 Canys wedi newidio yr offeiriadaeth, anghenraid yw bod cyfnewid ar y gyfraith hefyd.

13 Oblegyd am yr hwn y dywedir y pethau hyn, efe a berthyn i lwyth arall, o'r hwn nid oedd neb yn gwasanaethu yr allor.

---

*Arall*: Nid yn unig person arall, ond un o wahanol fath.

*Ac nas gelwid ef, &c.*: yn hytrach, **ac nad yn ol urdd Aaron yr enwid ef.** Dynodir cyfnewidiad yr offeiriadaeth gan enw newydd.

**12.** Dyma'r casgliad y cyrhaedda'r awdwr ato yn adn. 11, sef fod newid yr offeiriadaeth yn golygu ac yn achosi newid yr holl gyfundrefn grefyddol. Darfyddodd dydd gwasanaeth Iddewaeth pan ddaeth offeiriad newydd i gymeryd lle'r offeiriadaeth Lefiaidd.

**13.** *Y pethau hyn*: sef y dyfyniad o Salm $110^4$, yn adn. 11, "godi offeiriad arall yn ol urdd Melchisedec."

*A berthyn*: llyth. **a ddaeth yn gyfrannog o lwyth arall;** ceir yr un gair yn $2^{14}$ am ymgnawdoliad Crist. Golyga ei rag-hanfodaeth, a'i fod wedi dod i fewn i'r ddynoliaeth trwy lwyth Juda o'i ewyllys ei hun.

*Nid oedd neb yn gwasanaethu yr allor*: llyth. **yn rhoddi sylw i'r allor,** ond rhydd y Cyf. Cym. y synwyr yn gywir. Rhaid oedd i'r offeiriaid fod o lwyth Lefi yn ol y gyfraith (Num. $18^{1-2}$). Mwy anawdd, gan hynny, oedd i Iddewon dderbyn Crist fel offeiriad, gan ei fod o lwyth arall. Ceir olion o'r anhawster hwn yn ddiweddarach yn y dybiaeth a ddysgai rhai fod Crist yn hanu o lwyth Lefi yn ogystal ag o Juda. Un amcan gan yr awdwr wrth ddwyn urdd Melchisedec i fewn o gwbl yw dangos sut y gallai Crist fod yn offeiriad heb fod o lwyth Lefi. Ond cynhwysir yr amcan hwn mewn un mwy, sef dangos hefyd fod Crist yn offeiriad gwell nag oedd yn bosibl i neb fod yn ol urdd Aaron.

14 Canys hysbys *yw*, mai o Juda y cododd ein Harglwydd ni; am yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim tuag at offeiriadaeth.

15 Ac y mae yn eglurach o lawer eto; od oes yn ol cyffelybrwydd Melchisedec Offeiriad arall yn codi,

---

**14.** *Canys hysbys*: eglur i bawb, yn gyntaf trwy broffwydoliaeth am y Messiah (Micah 5[2] Es. 11[1] Jer. 23[15] ? Gen. 49[10]); ac yn ail yn nrhaddodiad yr eglwys am ei enedigaeth a'i linach (Mt. 1[2] 2[6] Luc 3[33] Ioan 7[42] Dat. 5[5]).

*Cododd*: fel y tardd blaguryn o'r ddaear (Jer. 23[5] Zech. 3[8] 6[12]), neu fel y cyfyd seren o'r gorwel (Num. 24[17]).

*Ein Harglwydd*: ffurf a ddefnyddir yn aml gan y Saeson ar ol y Lladinwyr, ond na cheir yn y TN ond yn y fan hon ac yn 1 Tim. 1[14] 2 Tim. 1[8] 2 Pedr 3[15].

*Tu ag at offeiriadaeth*: **o berthynas i offeiriaid.** Casgliad naturiol gan hynny fyddai nas gallai Crist fod yn offeiriad, ond try yr awdwr yr anhawster yn fantais trwy ei ddwyn i brofi fod Crist yn offeiriad o urdd wahanol a rhagorach.

**15.** *Ac y mae yn eglurach o lawer eto*: Defnyddir gair cryfach am *eglur* yn y fan hon nag am *hysbys* yn adn. 14. Beth oedd yn eglurach? Cynhygir amryw atebion: (*a*) nad oedd perffeithrwydd trwy offeiriadaeth Lefi (adn. 11) oblegyd fod offeiriadaeth wahanol wedi codi, ond dywedwyd hynny o'r blaen yn adn. 11: (*b*) fod yr offeiriadaeth wedi newid (adn. 12) o herwydd codi o offeiriad yn ol urdd Melchisedec: (*c*) fod y gyfraith yn newid gyda'r offeiriadaeth, ac fod hynny yn *eglur* gan mai o lwyth Juda y cododd Crist (adn. 14), ond yn *fwy eglur* gan fod urdd a natur ei offeiriadaeth yn wahanol: (*d*) fod Crist o lwyth arall fel y dywedir yn adn. 13, ac fel y danghoswyd mewn un ffordd yn adn. 14, ac y danghosir yn eglurach eto; yr ystyr olaf ellid ddisgwyl oddiwrth gyfatebiaeth *hysbys* ac *eglurach*, ond nid hyn a ddanghosir yn adn. 15-17, a chysyllta'r meddwl yn yr adnodau hyn a (*b*) neu (*c*); a'r cwestiwn yw pa un o'r ddau syniad safai allan yn fwyaf pwysig ym meddwl yr awdwr, newid yr offeir-

16 Yr hwn a wnaed, nid yn ol cyfraith gorchymyn cnawdol, eithr yn ol nerth bywyd annherfynol

---

iadaeth neu newid yr oruchwyliaeth? Gellid meddwl mai profi'r olaf oedd ei amcan pennaf; er hynny, trwy brofi fod yr offeiriadaeth wedi newid y dengys fod yr oruchwyliaeth wedi newid (adn. 12).

*Od oes*: dyma'r "os gadarnhaol:" **gan fod.**

*Cyffelybrwydd*: Yr un gair Groeg a gyfieithir yn 4[15], "yr un ffunud": a'r un gwreiddair saif yn adn. 3 am "wedi ei wneuthur yn gyffelyb;" nid yn unig y mae offeiriadaeth Crist o urdd Melchisedec, ond perthyna'r un nodweddion i'r ddau, fel y dengys yr adn. nesaf.

**16.** *Yr hwn a wnaed* neu **sydd wedi dod.**

*Cyfraith*: Nid deddf Moses fel y cyfryw a olygir yn y gair hwn, ond y rheol neu'r egwyddor gyffredinol yn ol yr hon y gwneid yr offeiriaid Iddewig.

*Gorchymyn*: Cyfeiria hwn at y rhan arbennig o ddeddf Moses oedd yn apwyntio a rheoli'r offeiriadaeth.

*Cnawdol*: Saif y gair Cymreig yn y TN am ddau air Groeg ychydig yn wahanol i'w gilydd: y naill, *sarkikos* yn golygu "perthyn i'r cnawd" neu "ddwyn nodweddion y cnawd" (Rhuf. 15[27] 1 Cor. 3[3] 9[11] 2 Cor. 1[12] 10[4]); a'r llall, *sarkinos* "o gnawd," sef mai cnawd yw'r defnydd y gwneir rhywbeth o honno (Rhuf. 7[14] 1 Cor. 3[1] 2 Cor. 3[3]). Ond prin y cedwir y gwahaniaeth yn glir, ac yn y pendraw nid oes wahaniaeth rhwng nodweddion peth a'i hanfod. Yr ail ffurf sydd yn y fan hon, a golyga mai perthynasau ac amodau yn perthyn i gylch y cnawd, i gylch daear a mater, oedd cynnwys y gorchymyn, megis fod yn rhaid i'r offeiriad ddod o linach Aaron, a bod o gorff diannaf, a chadw deddf purdeb allanol. Ni wnai'r gorchymyn unrhyw ofynion moesol nac ysprydol ar yr offeiriad Iddewig. Nid yw *cnawdol* ynddo'i hunan ychwaith yn tybied pechod na llygredd. Gwasanaetha'r frawddeg *cyfraith gorchymyn cnawdol* i ddeffinio nodweddion a chymhwysterau'r offeiriadaeth Iddewig, ac i osod Crist mewn cylch arall uwch.

17 Canys tystiolaethu y mae, Offeiriad *wyt* ti yn dragywydd
yn ol urdd Melchisedec.

18 Canys yn ddiau y mae dirymmiad i'r gorchymyn sydd yn
myned o'r blaen, oherwydd ei lesgedd a'i afles.

---

*Nerth bywyd annherfynol*: **anatodol neu anadfeiliadwy.** Gwneir pob peth cnawdol, daearol, i fyny o rannau gwahanedig ac agored i ddadfeilio, ond nis gellir gwahanu bywyd nac yspryd i'w helfennau cyfansawdd, ac am hynny y maent yn anherfynol. Nid bywyd Crist wedi ei esgyniad yn unig a olygir, ond y bywyd oedd o hyd yn hanfod ei fodolaeth, nas gallodd angau mo'i ddinystrio, ac a ddaeth yn achos ac egwyddor ei offeiriadaeth. Ni fanyla'r awdwr ar ei gynnwys yn y fan hon, oblegyd ei amcan yw dangos fod y bywyd hwn yn achos parhad tragwyddol offeiriadaeth Crist mewn gwrthgyferbyniad i freuder yr offeiriadaeth Lefiaidd. Gosodir allan wrthgyferbyniad triphlyg rhwng egwyddor y ddwy offeiriadaeth: (*a*) y mae un yn ol *deddf* neu reol sydd o'r tu allan i'r offeiriad, a'r llall yn ol *nerth* sydd o'i fewn: (*b*) grym y ddeddf yw'r *gorchymyn*, ond hanfod y nerth mewnol yw *bywyd*; (*c*) erys y gorchymyn ym myd y *cnawd* darfodedig, ond y mae'r bywyd yn ei natur yn anatodol ac anfarwol.

**17.** *Canys tystiolaethu y mae*: **oblegyd tystiolaethir.**

*Yn dragywydd*: ar y gair hwn y mae'r pwyslais yn y fan hon: yr hyn sydd yn ei gwneud yn *egluvach o lawer* fod yr hen gyfundrefn yn myned heibio yw, fod un arall wedi codi sydd o ran ei nhatur yn amhosibl iddi ddarfod, un "heb ddechreu dyddiau na diwedd einoes."

**18-19.** Cyfieither: **Oblegyd diddymir gorchymyn rhagarweiniol o herwydd ei wendid a'i afles (canys ni pherffeithiodd y gyfraith ddim), ond dygir i mewn yn ychwanegol obaith gwell, trwy yr hwn yr ydym yn nesau at Dduw.** Gwel C.S.D. Yn y ddwy frawddeg wrthgyferbyniol hyn casgla'r awdwr i bwynt yr holl ymresymiad o adn. 11-17: symudir ymaith y gorchymyn a sefydlodd yr offeiriadaeth Lefiaidd o herwydd ei fethiant, a gosodir yn ei le obaith gwell a'n dwg at Dduw.

19 Oblegyd ni pherffeithiodd y gyfraith ddim, namyn dwyn gobaith gwell i mewn *a berffeithiodd ;* trwy yr hwn yr ydym ni yn nesâu at Dduw.

---

*Dirymiad*: **symud ymaith: diddymiad.**

*I'r gorchymyn sydd yn myned o'r blaen*: **i** ac nid **i'r;** nid oes fanod, oblegyd egwyddor gyffredinol a fynegir. Y *gorchymyn* a enwyd yn adn. 16 a olygir, trwy yr hwn y gwnaed Aaron a'i olynwyr yn offeiriaid. Yr oedd nid yn unig yn rhagflaenu'r *gobaith gwell*, ond yn paratoi'r ffordd iddo, yn gysgod o hono, yn dangos yr angen am dano, ac am hynny yr oedd yn rhaid iddo fyned heibio pan ddaethai'r sylwedd.

*Ei lesgedd a'i afles*: Yr oedd yn wan oblegyd mai cnawdol oedd, yn rhy wan i gyrraedd y byd ysprydol a thragwyddol, ac am hynny yn ddiles, heb fod ganddo gymorth i'w roddi i ddynion, oblegyd nas gallai eu dwyn at Dduw. Gan mai gorchymyn am linach bur ac allanolion bywyd o grëai'r offeiriad Iddewig, ac nad oedd ynddo un egwyddor ysprydol, nid oedd ynddo ychwaith un gallu i ddwyn hyd yn oed yr offeiriad ei hunan at Dduw, a llai byth y gallai ddwyn neb arall ato. Sefyll rhwng dynion a Duw yn hytrach na'u dwyn ato a wna offeiriadaeth sydd yn codi o clyniaeth a defodau.

Sylwer ar y gwahaniaeth yn nysgeidiaeth Paul a He am wendid y ddeddf. Dysgai Paul nas gallai'r ddeddf symud euogrwydd pechod "o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd" (Rhuf. 8[3] cf. Gal. 4[9]), ond He, nas gall y ddeddf ddwyn dyn at Dduw oblegyd mai cnawd yw hi. Ond soniai Paul am y ddeddf foesol yr hon oedd ynddi ei hunan "yn sanctaidd, ac yn gyfiawn, ac yn dda" (Rhuf. 7[12]), ond golyga He y ddeddf seremoniol yr hon oedd yn rheoli swydd yr offeiriad, ac nad oedd un elfen o ysprydolrwydd ynddi. Hawliau deddf foesol gyferbyn a gwendid dyn oedd gan Paul, ond hawliau dyn gyferbyn a gwendid deddf ddefodol sydd yn He.

*Canys ni pherffeithiodd y gyfraith ddim :* **Yr hyn sydd wir am yr offeiriadaeth sydd wir am yr holl gyfundrefn**

20 Ac yn gymmaint nad heb lw *y gwnaethpwyd ef yn Offeiriad :*

---

(adn. 12) ; methodd y naill a'r llall gyrraedd yr amcan y dylai offeiriadaeth a chyfundrefn grefyddol eu cyrraedd, sef dwyn dynion at Dduw. (Gwel ar adn. 11).

*Namyn dwyn gobaith gwell i mewn*: llyth. **ond [digwydd] dygiad i mewn yn ychwanegol obaith gwell.** Cymer *gobaith* yr efengyl le gorchymyn y gyfraith, ac y mae yn well oblegyd ei fod yn cyrraedd ei amcan, yn myned i mewn tu fewn i'r llen, yn angori'r enaid wrth y pethau tragwyddol, ac yn dod yn gyfrwng iddo.

*Nesau at Dduw*: Dyna nôd amcan offeiriadaeth (6[18,19]). Ni ddysga He athrawiaeth offeiriadaeth yr holl saint yn ffurfiol fel y gwneir yn 1 Pedr 2[5,9] Dat. 1[6] 5[10] 20[6], ond ceir ei hystyr hanfodol yn y frawddeg hon. Eto yn nrychfeddwl ac iaith He Crist yw yr unig offeiriad.

(4) *Llw Duw yn sicrhau offeiriadaeth Crist.* 7[20-22].

Rhagora offeiriadaeth Crist ar yr un Iddewig yn null ei sefydliad; gwnaed yr olaf trwy orchymyn darfodedig, ond y flaenaf trwy lw Duw nas gellir ei newid, ac am hynny y mae Crist yn Fachnïydd cyfamod gwell na chyfamod yr hen oruchwyliaeth.

Dygir adn. 21 i mewn rhwng cromfachau i egluro a phrofi fod y naill offeiriadaeth *heb lw* a'r llall *nid heb lw*, a rhed y brif frawddeg o adn. 20 i adn. 22, ac y mae yn llyth. fel hyn: **Ac yn gymaint nad heb dyngu llw, ar gyfamod o gymaint a hynny yn well y daeth Iesu yn Fachnïydd.** Brawddeg anorffenedig yw adn. 20, a dwg y Cyf. Cym. a llawer o esbonwyr i mewn i'w gorffen y geiriau *y gwnaethpwyd ef yn offeiriad* o'r adn. ddilynol; cymer eraill orffeniad y frawddeg o'r adn. flaenorol gan ychwanegu *y dygwyd gobaith gwell i mewn;* nid oes llawer o wahaniaeth rhwng y ddau ystyr: ond mynn eraill drachefn gymeryd gorffeniad adn. 20 o adn. 22: **ac o gymaint nad heb lw [y daeth Iesu yn Fachnïydd], o gymaint a hynny ar gyfamod gwell y daeth Iesu yn Fachnïydd.** Gellid

21 (Canys y rhai hynny yn wir ydynt wedi eu gwneuthur yn offeiriaid heb lw: ond hwn trwy lw, gan yr hwn a ddywedodd wrtho, Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, Ti *sydd* Offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec):

---

meddwl mai hyn olyga'r C.S.D. Ond collir felly'r cysylltiad â'r adn. flaenorol a'r un ddilynol; a thra tebygol yw fod un o'r ddwy wedi cynhyrchu adn. 20, er na feddyliwyd hi allan yn llawn.

20. *Nad heb lw:* **heb gymeryd llw neu dyngu llw**: gwel ar $3^{11}$ a $6^{13\text{-}20}$.

Llw Duw oedd sail gobaith y credadyn ($6^{13\text{-}20}$) ac efe yw sicrwydd offeiriadaeth Crist a'r cyfamod sydd ynglyn â hi, o'r rhai y daw'r gobaith. Dynoda'r *llw* fwriad dianwadol ac anghyfnewidiol Duw.

21. *Heb lw:* nid oes son yn unlle am *lw* ynglyn â sefydliad yr offeiriadaeth Lefiaidd, ond yn ol Salm $110^{4}$

*Tyngodd yr Arglwydd* wrth apwyntio'r offeiriad yn ol urdd Melchisedec. Diau fod yr awdwr yn ol ei ddull alegoraidd o esbonio, yn adeiladu ar y gwahaniaeth fwy na olygai ysgrifenwyr yr HD. Prin y tybiai awdwr llyfr Numeri fod offeiriadaeth Aaron yn ddarfodedig am nad oedd llw Duw y tu ol iddi, nac awdwr Salm 110 fod offeiriadaeth Simon y Maccabead, neu'r neb oedd ganddo mewn golwg, yn fwy sicr nâ'r un Lefiaidd; yn hytrach amddiffyn yr oedd gyfuniad y frenhiniaeth â'r offeiriadaeth yn yr un person (Adnodiad C).

*Ac ni bydd edifar ganddo:* Sonir yn aml yn yr HD am Dduw yn edifarhau (Gen. $6^{6\text{-}7}$ Ex. $32^{14}$ Barn. $2^{18}$ 1 Sam $15^{11,29,35}$ 2 Sam. $24^{16}$ Jer. $26^{13,19}$ Amos $7^{3,6}$). Gan y credai'r ysgrifenwyr fod pob peth yn dod yn uniongyrchol oddiwrth Dduw, yr unig ffordd y gallent esbonio cyfnewidiadau yn amgylchiadau dynion, ac yn arbennig yn eiddo'r genedl etholedig, oedd fod Duw yn newid ei feddwl a'i weithrediad. Credent fod Duw yn berson, sef ei fod yn rhydd i ddewis ei fwriadau a phenderfynnu ei weithrediadau ei hunan; a'r unig iaith oedd ganddynt i fynegi eu cred

22 Ar destament gwell o hynny y gwnaethpwyd Iesu yn Fachnïydd.

---

oedd yr iaith a arferid i fynegi personoliaeth dyn. Pan newidia dyn ei ymddygiad heb fod dim o'r tu allan yn galw am hynny, gwna hynny oblegyd ei fod wedi newid ei feddwl, wedi edifarhau am ei ymddygiad blaenorol. Gan na allai dim allanol newid bwriadau Duw, rhaid oedd ceisio'r achos ynddo'i hunan, a dweyd ei fod wedi edifarhau. Diffyg y syniad, o'i gymhwyso at Dduw, yw nad yw yn gwahaniaethu (fel y dylid) rhwng bwriadau a gweithrediadau Duw. Golyga doethineb a daioni Duw fod ei fwriadau o hyd yr un, er ei fod yn eu sylweddoli trwy wahanol ffyrdd a moddion ar wahanol adegau, oblegyd fod dynion a phob peth meidrol yn rhy fychain iddo ef gyflawni ei holl fwriad trwyddynt. Ond y mae Crist yn ddigon mawr i sylweddoli delfryd Duw o offeiriad, ac ni bydd eisiau byth ei newid; am hynny, nid ymddengys Duw fel pe bai wedi edifarhau ei wneud ef yn offeiriad. (Gwel y Prif-athraw Lewis ar *Amos*, $7^{3}$).

*Yr hwn a ddywedodd wrtho*: sef Duw trwy broffwydoliaeth y Salmydd; felly y deallai'r awdwr y Salm.

*Yn ol urdd Melchisedec*: ni cheir y geiriau hyn yn y fan hon yn y mwyafrif o'r llawysgrifau goreu.

**22.** *Ar destament gwell*: Yn hytrach **ar gyfamod gwell.** Mewn Groeg clasurol golygai'r gair sydd yn y fan hon *destament* neu *ewyllys* neu *gymunrodd*, ond defnyddir ef yn gyson yn yr LXX. am y gair Hebraeg am **gyfamod,** ac ystyr yr LXX. sydd iddo yn y fan hon, ac ymhob man yn y TN ag eithrio He $9^{15-17}$ lle y chwery'r awdwr ar y ddau ystyr. Nid ymddiriedolwr ewyllys rhywun sydd wedi marw yw Iesu Grist, ond cyfryngwr cyfamod Duw byw. Nodir y cyfamod i baratoi'r ffordd i'r ymdriniaeth arno yn y penodau dilynol.

*Gwell* na'r hen gyfamod yr oedd yr offeiriaid Lefiaidd yn feichiau iddo, oblegyd gorffwys sicrwydd hwn ar offeiriadaeth dragwyddol Crist, a llw Duw yn sicrwydd ei pharhad hithau.

23 A'r rhai hynny yn wir, llawer sydd wedi eu gwneuthur yn offeiriaid, o herwydd lluddio iddynt gan farwolaeth barhâu.

---

*O hynny:* **o gymaint a hynny,** sef o gymaint ag y mae llw yn well na bod heb lw.

*Y gwnaethpwyd Iesu yn Fachnïydd*: Dyma'r unig fan y ceir y gair a gyfieithir *Machnïydd* yn y TN; golyga un a aiff yn sicrwydd neu wystl am rywbeth, ac yn y fan hon am gyflawniad y cyfamod. Esbonir y frawddeg mewn tair ffordd wahanol: (a) fod yr Iesu yn sicrwydd dros ddynion i Dduw; (b) ei fod yn sicrwydd dros Dduw i ddynion; (c) ei fod yn sicrwydd deublyg, dros ddynion i Dduw, a thros Dduw i ddynion. Ond yr oll ddywed y frawddeg yw fod Crist yn sicrhau'r cyfamod newydd; efe yn ei berson dwyfol-ddynol yn offeiriad byth yn y nef, yw'r sicrwydd i ni y peri cyfamod gras Duw byth yn ei rym. Os oedd un o'r esboniadau uchod ym meddwl yr awdwr, yr ail (b) oedd.

(5) *Rhagoriaeth unoliaeth ar amrywiaeth.* $7^{23-25}$

Yn yr offeiriadaeth Lefiaidd gwneir llawer yn offeiriaid ar ol eu gilydd o herwydd eu bod yn marw, ond erys Crist yn un offeiriad tragwyddol, ac am hynny y mae yn abl i lwyr achub dynion trwy ei eiriolaeth barhaol. Y mae mwy na chwestiwn o nifer yn unig yn y *llawer* a'r *un*: cynhwysa natur a hanfod y ddwy offeiriadaeth. Syniad cyfarwydd yn athroniaeth Groeg oedd fod y *llawer* yn perthyn i gylch y byd ymddangosiadol, materol a darfodedig, ac fod y gwir sylwedd, y daioni pennaf neu Dduw yn *un*. O angenrheidrwydd yr oedd y *llawer* yn amherffaith, cyfnewidiol a darfodedig, ond yr *un* yn gyflawn, perffaith a thragwyddol. Gan fod yr offeiriadaeth Iddewig yn *llawer*, perthynai i fyd îs, byd y rhannu a'r dadfeilio, byd cyfnewidiol a marwol, byd mater a chysgod. Ond gan fod offeiriadaeth Crist yn *un*, perthyna i'r byd perffaith a thragwyddol, byd y sylwedd gwir tu fewn i'r llen, a bydd y neb a ddaw yno trwyddo yn *un* cyfan a pherffaith, wedi ei lwyr achub.

24 Ond hwn, am ei fod ef yn aros yn dragywydd, sydd ag offeiriadaeth dragywyddol ganddo.

---

**23.** *Llawer* : Sef yr holl olyniaeth o offeiriaid o Aaron i lawr ; nid *llawer* ar yr un pryd a olygir, (er y buasai hynny yn wir), oblegyd marwolaeth sydd yn peri bod *llawer*.

*Barhau* yn eu swydd offeiriadol ; **aros gyda** dynion i'w gwasanaethu. Perthynant i gylch y byd cyfnewidiol, darfodedig yn hytrach nag i'r un arhosol a sylweddol.

**24.** *Aros* naill ai (a) mewn bywyd, neu (b) yn ei swydd. Yr olaf sydd yn cyfateb i'r adn. flaenorol.

*Offeiriadaeth dragwyddol* : Nid y gair arferol am *dragywydd* sydd yn y fan hon ; ceir hwnnw yn y frawddeg gyntaf o'r adn. Ystyr llyth. y gair yn y fan hon yw " peth nas gellir ei droseddu," " nas gellir ei lygru " neu " ei dorri ": **didor, anghyfnewidiol ;** a rhydd rhai iddo'r ystyr "na throsglwyddir o un i'r llall" yn ol adn. 23 ; tebyg mai dyna olyga ymyl y ddalen, "anllithredig," ond nid oes un awdurdod dros roddi iddo'r ystyr olaf ; golyga nas gall angeu na dim arall dorri ymaith offeiriadaeth Crist, fel y gwnai â'r offeiriadaeth Lefiaidd.

**25.** *Efe a ddichon hefyd yn gwbl iachau* : **Y mae yn alluog hefyd i achub hyd yr eithaf,** i sicrhau iachawdwriaeth lawn a pherffaith. Er na fanyla'r awdwr yn y fan hon ar gynnwys yr **achub,** dywed y frawddeg nesaf beth sydd bennaf ynddo, sef bod dynion

*Yn dyfod at Dduw*, a'r Iesu yw cyfrwng eu dyfodiad ; dyna brif amcan ei offeiriadaeth (10^19 22^ Mt. 11^27^ Ioan 14^6^).

*Gan ei fod yn byw bob amser i eiriol drostynt* : Ei fywyd parhaol a'i eiriolaeth gyson yw ffynhonell ei allu i achub, a'r modd hefyd y dwg efe ddynion at Dduw.

*I eiriol*: **er mwyn eiriol :** dyma nôd ac amcan ei fywyd tragwyddol yn y nef. Ystyr lled gyffredinol sydd i'r gair Groeg a gyfieithir *eiriol.* Golygai yn gyntaf "gyfarfod ag un" megis ar ddamwain, ac yna "myned i

25 Am hynny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy.

---

gyfarfod rhywun," ac yn drydydd "myned i gyfarfod er mwyn siarad neu ddymuno neu erfyn rhywbeth gan un." Defnyddir ef yn yr ystyr olaf yn y TN naill ai (*a*) am ddymuno yn erbyn rhywun, sef ei gyhuddo, megis yr oedd Elias "yn erfyn ar Dduw yn erbyn Israel (Rhuf. 11²), neu (*b*) am erfyn dros rywun, sef dadleu drosto, megis y mae'r Yspryd Glân yn erfyn trosom ni (Rhuf. 8²⁶⁻²⁷), a Christ hefyd (Rhuf. 8³⁴ cf. 1 Ioan 2¹). Ceir y syniad o eiriolaeth yn aml yn yr HD, megis Abraham yn eiriol dros Sodom (Gen. 18²³⁻³³), Moses dros y genedl (Ex. 32¹¹ &c. Num. 13¹⁴ &c.) a Samuel (1 Sam. 7⁹). Credai'r Iddewon yn ddiweddarach fod angylion yn eiriol ar Dduw dros ddynion, a dysgai Philo fod y Gair yn yr un modd yn eiriol. Defnyddio iaith ffigyrol yr ydys wrth son am yr Yspryd Glân a Christ yn y nef eiriol, i geisio gosod allan berthynas y personau dwyfol â'u gilydd yng ngwaith iachawdwriaeth dyn. Ni ddywed yr awdwr, ac feallai na ellir dirnad, beth mewn gwirionedd a olyga'r gair am berthynas hanfodol y personau dwyfol â'u gilydd. Gweithir allan y ffigyr yn fanylach, ac yn fwy daearol, yn yr hen benillion

"Heddyw yn eiriol," &c.

Golyga'r eiriolaeth i'r profiad crefyddol fod dadl grâs y Duwdod dros dderbyn pechadur i gymod yn hanfodi ynddo'i hunan, ac wedi ei gwneud yn ffaith ddatguddiedig a phrofadwy i ddynion ym mherson Crist; a dyna ystyr hanfodol ei offeiriadaeth dragwyddol.

### (6) *Yr Archoffeiriad cymhwys i ni.* 7²⁶⁻²⁸

Casgla'r awdwr yn awr yng nghyd nodweddion, safle a gwasanaeth yr Arch-offeiriad yn ol urdd Melchisedec, gan gadw mewn golwg o hyd y gwrth-gyferbyniad a'r offeiriaid Lefiaidd, fel paratoad i ymdriniaeth fanylach â'r cyfamod, yr aberth a'r eiriolaeth yn yr adran nesaf. Nodir ym mlaenllaw rai nodweddion na enwyd o'r blaen,

26 Canys y cyfryw Arch-offeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog,

---

ac yn arbennig iddo offrymu ei hun yn un aberth digonol; a phwysleisir yn awr y gwahaniaeth rhyngddo a dynion, tra mai ei debygrwydd iddynt a ddygwyd allan fel cymhwysterau i'w offeiriadaeth mewn adrannau blaenorol ($2^{17\cdot18}$ $4^{15}$ $5^{7\cdot8}$).

**26.** *Canys y cyfryw Arch-offeiriad . . . oedd weddus i ni*: gwell dwyn dwy ran y frawddeg at eu gilydd fel y maent yn y Groeg, a gosod y desgrifiad i ddilyn.

*Y cyfryw Arch-offeiriad*: Y mae'r pwyslais ar y gair *cyfryw* er nodi allan nodweddion yr Arch-offeiriad fel y desgrifiwyd ef yn rhannau blaenorol y bennod, neu feallai o $4^{15}$ ymlaen, ac hefyd fel y'u cydgrynhoir yn y tair adn. hyn: gellid cyfieithu: **y cyfryw un oedd [hefyd] yn gweddu i fod i ni yn Arch-offeiriad.** Dyma'r tro cyntaf yn y bennod hon i'r awdwr son am *Arch-offeiriad*, a thybia rhai ei fod yn awr yn gadael y gyfatebiaeth rhwng Crist a Melchisedec, ac yn symud ymlaen i'w gymharu ef ag Aaron, oblegyd offeiriad y gelwid Melchisedec, nid arch-offeiriad, ac ychwaith ni sonir ei fod wedi aberthu; ond yr oedd arch-offeiriaid yn ol urdd Aaron ac yr oeddynt hwy yn aberthu. Eto byddai'n anghyson ag ymresymiad yr holl bennod i dybied fod Aaron yn well darlun o Grist yn ei swydd uchaf a'i weithred bennaf na Melchisedec. Defnyddia'r awdwr y teitl "offeiriad" cyhyd ag yr erys gyda chysylltiadau hanes Melchisedec, ond golygai lawn cymaint a mwy nag a ellid gyfleu dan gymhariaeth yr arch-offeiriad o urdd Aaron, oblegyd yr oedd Melchisedec yn unig offeiriad uwchlaw pawb, tra yr oeddynt hwy yn llawer; ac er na ddywedir iddo aberthu, yr oedd hynny yn gynhwysedig yn y teitl "offeiriad." Byddai offeiriad heb aberth yn syniad dieithr i'r awdwr a'i ddarllenwyr. Eto gwell gan yr awdwr y teitl arch-offeiriad, lle y mae yn anibynnol ar iaith yr HD, oblegyd i rai cyfarwydd â thermau'r offeiriadaeth Iddewig (fel yr oedd ef a'i ddarllenwyr) awgrymai'r teitl uwch yn well ei syniad am swydd a safle Crist. Ac yn ddiau hefyd yr

didoledig oddi wrth bechaduriaid, ac wedi ei wneuthur yn uwch na'r nefoedd, oedd weddus i ni,

---

oedd gwaith yr arch-offeiriad yn aberthu ar ddydd mawr y cymod i raddau yn lliwio meddwl ac iaith yr awdwr, ond yr un meddylddrych sydd ganddo am offeiriadaeth Crist o hyd (cf. 5[1] a 5[5]), ac yr oedd urdd Melchisedec o hyd yn rhan o hono.

*Oedd weddus* : Yn taro ein hangen a'n hamgylchiadau.

*Sanctaidd* : **duwiol** : Yn drugarog a daionus fel Duw, ac yn ymgyflwynedig iddo mewn cariad (5[5,7,8]). Yr un gair a gyfieithir "Sanct" yn Salm 16[10] Act. 2[27] 13[35]. Gair gwahanol a gyfieithir *sanctaidd* yn yr ystyr o fod yn gysegredig i wasanaeth Duw, naill ai yn seremoniol neu foesol. Dynoda'r blaenaf bob amser egwyddor foesol.

*Diddrwg* : **diddichell** : heb feddwl drwg am ddynion, ond yn tosturio wrthynt (5[2] cf. Rhuf. 16[18]).

*Dihalog* : "Heb frycheuyn chwaith na chrychni" yn ei holl natur. Yr hyn oedd raid i'r offeiriaid Lefiaidd fod yn seremoniol (Lef. 21[1] 22[9]), hynny oedd Crist yn foesol, ac felly yr oedd yn gymwys i ymddangos ger bron Duw (13[4] Iago 1[27] 1 Pedr 1[4]). Galwai Philo'r Gair yn "Arch-offeiriad dihalog."

*Didoledig oddiwrth bechaduriaid* : **wedi ei ddidoli oddiwrth y pechaduriaid** : Dealla'r mwyafrif o esbonwyr mai esgyniad Crist a olygir, a dynoda felly yr un weithred â'r frawddeg ddilynol, ond o dan agwedd wahanol; deil eraill mai ymwahaniad moesol Crist oddiwrth bechaduriaid trwy ei fywyd dibechod sydd yma, ond yn cyrraedd i berffeithrwydd yn ei esgyniad. Pwynt y frawddeg yw fod Crist wedi ei wahanu oddiwrth bob posibilrwydd llygredd, fel yr ymneilltuai'r arch-offeiriad o dan y ddeddf, hyd yn oed oddiwrth ei deulu, am saith niwrnod cyn dydd y cymod (Lef. 21[10] &c.). Purdeb moesol Crist yn sicr oedd y peth pennaf yn y gwahaniad. Ond un elfen yw honno yn awr yn urddas ei berson ac uchder ei safle a'i swydd, lle y saif yn ymyl Duw tu fewn i'r llen, ar wahan oddiwrth ddynion, ac yn eiriolwr drostynt.

27 Yr hwn nid yw raid iddo beunydd, megis i'r offeiriaid hynny, offrymmu aberthau yn gyntaf dros ei bechodau ei hun, ac yna

---

*Wedi ei wneuthur* (neu **wedi dyfod**) *yn uwch na'r nefoedd*: Aethai trwy'r nefoedd a thuhwnt iddynt (4[14] cf. Eph. 4[10]) i'r presenoldeb dwyfol. Meddylir am y nefoedd yn y fan hon fel llèn rhyngom ni a Duw. Yn 9[24] *y nef ei hun* fel trigfa Duw yw'r lle yr ymddengys Crist *ger bron Duw trosom ni.* Dosbartha Westcott yr adn. fel hyn: "Yn bersonol ynddo'i hunan y mae Crist yn *sanctaidd*, yn ei berthynas â dynion yn *ddi-ddrwg*, a'r waetha'i gysylltiad â byd pechadurus yn *ddihalog*: yng nghanlyniadau ei fywyd, y mae *wedi ei ddidoli oddiwrth bechaduriaid* yn ei berthynas â phethau gweledig, ac yn ei berthynas â'r byd anweledig y mae *wedi esgyn uwchlaw'r nefoedd.*"

**27.** Yn y nodweddion a enwyd yn yr adn. flaenorol, yr oedd rhyw debygrwydd allanol (er nad gwirioneddol) rhwng Crist a'r offeiriaid Lefiaidd, ond yn yr adn. hon danghosir gwahaniaethau pwysig hyd yn oed yn ffurf eu gwasanaeth: (*a*) offryment hwy yn aml, ond efe unwaith am byth; (*b*) aberthent hwy drostynt eu hunain a thros y bobl, ac efe dros y bobl yn unig; (*c*) offrymu aberthau o bethau allanol wnaent hwy, ond offrymodd efe ei hunan.

*Offeiriaid:* camgyfieithad am **arch-offeiriaid.**

*Beunydd*: **bob dydd:** achosa'r gair hwn gryn anhawster, oblegyd nad arferai'r *arch*-offeiriaid offrymu beunydd dros eu pechodau eu hunain ac eiddo'r bobl, ond yn unig unwaith y flwyddyn ar ddydd y cymod; ac ymddengys y gwyddai'r awdwr hynny yn dda (9[7,28] 10[1,3]). Os oes yma felly (fel y tybia rhai) gamgymeriad, o anghofrwydd ac nid o anwybodaeth y cododd. Ond cynhygir amryw esboniadau i symud yr anhawster: (*a*) cyfieithir "un dydd ar ol y llall (bob blwyddyn)," ond ni oddef y geiriau'r cyfieithad hwn; (*b*) er mai unwaith y flwyddyn yr aberthai'r arch-offeiriad, ei fod yn teimlo'r *rhaid* neu'r angen *beunydd*; ond *rhaid i offrymu aberthau* a ddywedir; (*c*) cyfyngir y gair *beunydd* i waith Crist yn unig; er ei fod

dros yr eiddo y bobl: canys hynny a wnaeth efe unwaith pan offrymmodd efe ef ei hun.

---

ef yn eiriol yn wastad, nid oedd raid iddo aberthu ond unwaith; elai'r arch-offeiriad unwaith bob blwyddyn i aberthu ac eiriol, ond yr oedd un aberth Crist yn ddigon o sail i'w eiriolaeth feunyddiol. Anaturiol y daw'r ystyr hwn hefyd o'r geiriau; (*d*) gwell cymeryd y geiriau yn eu hystyr naturiol, a golygu fod yr awdwr yn y fan hon yn cyfuno yn un syniad yr offrymau beunyddiol a ofynnai'r gyfraith gan yr offeiriaid Lefiaidd (Ex. 29[38] &c. Lef. 6[19] &c. Num. 28[3]), ac un offrwm mawr dydd y cymod. Ymddengys fod Philo ac ysgrifenwyr Iddewig eraill wedi gwneud yr un peth; a'i bod hefyd yn gyfreithlon i'r arch-offeiriaid os mynnent gymeryd rhan yn yr offrwm beunyddiol (Farrar). Gellid meddwl fod y Cyf. Cym. er mwyn osgoi'r anhawster wedi cyfieithu *offeiriaid* yn lle **arch-offeiriaid.**

*Yn gyntaf dros ei bechodau ei hun, &c.*: dyna oedd trefn aberth dydd y cymod (gwel ar 5[3] a Lef. 16[11-16]).

*Hynny a wnaeth efe*: sef aberthu dros bechodau'r bobl, oblegyd dysga'r awdwr yn ddigon clir nad oedd bechod yng Nghrist ei hunan (gwel ar 4[15]).

*Unwaith:* **unwaith am byth,** mewn gwrthgyferbyniad i *beunydd*. Y mae prif bwynt dysgeidiaeth yr holl frawddeg yn ddigon eglur, sef fod yr aberthau Iddewig (fel yr offeiriaid) yn *llawer*, ac am hynny yn anigonol ac amherffaith, ond fod aberth Crist yn *un* ac felly yn ddigonol a pherffaith (gwel ar adn. 23).

*Pan offrymodd efe ei hun*: Nid oedd angen na phosibilrwydd ail-adrodd y fath aberth. Dyma'r lle cyntaf y sonia'r awdwr am Grist yn aberthu ei hun: yn ol ei ddull arferol, dwg i fewn y syniad fel paratoad i'w drin yn fanylach yn y penodau dilynol (9[11-14 26-28] 10[5-14 19,20]).

**28.** Mewn un gwrthgyferbyniad terfynol, gosodir swm yr holl wahaniaeth rhwng y ddau fath o arch-

28 Canys y gyfraith sydd yn gwneuthur dynion a gwendid ynddynt yn archoffeiriaid; eithr gair y llw, yr hwn a fu wedi y gyfraith, *sydd yn gwneuthur* y Mab, yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd.

---

offeiriad. Cyfleir tri phwynt o wahaniaeth: (*a*) rhwng y *gyfraith* a gair y *llw*; (*b*) rhwng *dynion* sy'n llawer ac un *Mab*; (*c*) rhwng *gwendid* a *pherffeithrwydd*.

*Gwendid*: Dynoda'r gair yr holl ddiffygion a nodwyd yn yr offeiriaid Iddewig, y rhai a barent iddynt syrthio'n fyrr o nôd gwir offeiriadaeth, megis pechod (5[3]), amrywiaeth a marwolaeth (7[23]).

*Gair y llw yr hwn a fu wedi y gyfraith*: Cadarnhawyd yr offeiriadaeth yn ol urdd Melchisedec trwy lw Duw yn Salm 110[4], fel nas gallai neb dybied fod offeiriadaeth Aaron wedi dileu yr urdd hynach wrth ddod i fewn ar ei hol. Yn gyffelyb, ymresymai Paul nas gallai'r ddeddf ddirymu'r addewidion o herwydd ei bod yn ddiweddarach (Gal. 3[17]). Yma ategir hawl wreiddiol y sefydliad uwch trwy gadarnhad diweddarach.

Y *Mab*: yn hytrach **Mab**, heb y fanod; ar nodweddion ei natur y mae'r pwyslais (gwel 1[1-4]).

*A berffeithiwyd*: **wedi ei berffeithio**: nid ar gwrs perffeithiad y Mab ar y ddaear y mae golwg yr awdwr yn y fan hon (fel y mae yn 2[10] a 5[9]), ond ar ei ystad o berffeithrwydd tragwyddol, canlyniad a therfyn y cwrs, wedi cyrraedd i gylch y byd tragwyddol, ac yn gorffwys ar air y llw, sef ar osodiad tragwyddol Duw.

DIWEDD CYFROL I.

---

*W. Wilcox, Argraffydd, Heol Caerdydd, Aberdar.*

